# TRAETHAWD

AR Y

# SABBATH:

YN YR HWN YR YSTYRIR

I. *Moesoldeb y Gorchymmyn.*

II. *Newidiad y Diwrnod dan yr Oruchwyliaeth Newydd.*

III. *Sancteiddiad y Sabbath:*

Y'NGHYD AG AMRYW

## ANNOGAETHAU A CHYFARWYDDIADAU

I'W SANCTEIDDIO EF.

Gan JOHN ELIAS.

---

'A Duw a fendigodd y seithfed dydd, ac a'i sancteiddiodd ef: o blegid ynddo y gorphwysasai oddi wrth ei holl waith.'

MOSES.

'Yr hwn a aeth i mewn i'w orphwysfa ef, hwnw hefyd a orphwysodd oddi wrth ei weithredoedd ei hun, megis *y gwnaeth* Duw oddi wrth yr eiddo yntau.'

PAUL.

---

BALA,

ARGRAFFWYD TROS YR AWDWR, GAN JONES & CO.

1804.

[PRIS CHWE CHEINIOG.]

# Rhagymadrodd.

YR achos i mi anturio 'sgrifenu y Traethawd canlynol, oedd, fy mod yn sylwi, gyd â gofid, ar y dirmyg y mae 'r gorchymmyn sanctaidd hwn, yn gael yn ein gwlad, gan bawb, o bob enw o grefyddwŷr, yn gystal a'r digrefydd. Yr ydwyf yn hyderus, fod y rhan fwyaf, os nid pawb o honoch, y rhai y daw y Traethawd hwn i'ch dwylaw, yn addef ac yn credu bod Duw; a bod ysgrythyrau, 'r Hen Destament a'r Newydd, yn wir air Duw:....a bod Duw yn wrthddrych i'w addoli, gyd â sancteiddrwydd a pharch, yn ol ei drefn, a'i reolau ei hun yn *unig:* a bod yn ddyledus ar holl ddynolryw ei addoli ef felly. Gan hyny, y mae 'n alarus meddwl fod neb, a gafodd ddysgrifiad cywir o wir wrthddrych addoliad, yn y gair, yn nacâu ei addoli, neu yn cynnyg addoliad iddo, yn groes i'w drefn........Y mae 'n alarus meddwl fod un dydd o'n bywyd, yn myned heibio heb fod rhyw ranau o hono, yn cael eu nheilltuo i addoli Duw; nid yn ddirgel yn unig, ond yn deuluaidd hefyd.

Y mae 'r teuluoedd hyny yn anghrist'nogol ac yn annuwiol, y rhai sydd heb addoliad parchus i Dduw ynddynt, bob dydd:....Trwm yw meddwl fod cymmaint o'r fath deuluoedd yn ein tir! Ond, y mae yn drymach meddwl, fod y diwrnod a neilltuodd ac a sancteiddiodd Duw, i'w wasanaethu a'i addoli ef, drwy gydol y dydd, yn cael ei dreulio gan ddynion, mewn meddyliau, geiriau, a gweithredoedd bydol, neu gnawdol---neu mewn cwsg a segurdod, ac esgeulusdra o addoliad Duw; yn ddirgel, teuluaidd, a chyhoeddus.

O, fy nghŷdwladwŷr! Ai nid yw Duw yn deilwng o addoliad? neu, os ydyw, A ydyw un dydd o saith yn ormod i'r gwaith gogoneddus hwn? A ydyw yr byd gymmaint gwell, yn eich golwg, na Duw, fel yr ydych yn gallu treulio chwe diwrnod gyd â'r byd, gan foreu godi a myned yn hwyr i gysgu, gyd â llawer mwy o bleser, na threulio un dydd i Dduw, a chyd â Duw? Ai nid oes dim o waith Duw, yn crëu bydoedd, neu yn prynu pechaduriaid, gymmaint gwerth yn eich golwg, ag y carech gadw dydd o saith i'w cofio yn barhâus? Ai nid oes yn Nuw, fel Creawdwr, nac fel Duw iachawdriaeth, ddim digon o ryfeddodau i chwi feddwl, a myfyrio am danynt, un dydd o saith? Ai nid oes yn yr Iachawdwriaeth fawr, yr hon y mae 'r angylion yn chwenychu edrych arni byth, ddim digon o ryfeddodau i chwi ymddiddan am danynt y dydd sanctaidd hwn? Ddynion, sydd yn meddwl ac yn ymddiddan am elw bydol, Ai nid oes digon o elw a chyfoeth yn yr Iachawdwriaeth,

i feddwl ac i sôn am danynt, un dydd o saith? Oes, oes: Elw mawr yw duwioldeb, yma, ac i dragywyddoldeb hefyd!....Ddynion, sydd am bleserau a difyrwch cnawdol; Ai nid oes digon o hawddgarwch a gogoniant yn mhethau Duw i'ch difyru un diwrnod? Onid oes, Pa fodd yr ydych yn meddwl byw yn y nefoedd byth; lle nad oes dim ond pethau ysprydol? Oes, gyfeillion, pe 'r adnabyddech ef, ddigon i'ch difyru byth ynddo. 'Digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron.' Ai nid oes gwell gorphwysfa yn moddion gras, ac y'nghyfeillach Duw ynddynt, nag mewn gorwedd, cysgu, segur rodiena, &c. Oes, fy nghyfeillion, gorphwysfa enaid y'nghyfeillach Duw, ac y mae 'r corph yn cael ei ddadebru yma hefyd. 'Fy nghalon a'm cnawd a waeddant am y Duw byw.' Nid baich plant Duw yw cadw 'r Sabbath yn sanctaidd a manwl; nage, ond hyfrydwch a gorphwysfa eu heneid yw......Dymunaf daer annog tri math o ddynion, yn enwedigol, i ymdrechu o blaid sancteiddio 'r Sabbath.

1. Pennaethiaid, a swyddogion gwladol (os daw y Traethawd hwn i ddwylaw neb o honoch) dylech ddefnyddio eich awdurdod o blaid sancteiddio 'r Sabbath; ac yn erbyn ei halogi ef. 'Tywysogion ydynt ofn i weithredoedd drwg.' (Rhuf. xiii. 3.) Diammeu mai gweithred ddrwg yw halogi Sabbath Duw; am hyny, dylech fod yn arswyd i dorwŷr y Sabbath, ac yn amddiffynfa i'r rhai sydd yn ei barchu:---Defnyddio 'r amryw gyfreithiau buddiol a'r sydd yn ein teyrnas, yn erbyn halogwŷr Sabbothau......Cydnabydded swyddogion gwladol, o bob math, mai Duw

a'u gosododd yn eu lle; ac mai dros Dduw y dylent ddefnyddio eu hawdurdod. Dwrdiodd Nehemïah y pendefigion, am halogi 'r Sabbath. (Neh. xiii.) Nid wyf yn deall fod un gorchymmyn, o eiddo Duw, yn yn cael mwy o ddirmyg, gan bob graddau yn ein gwlad, na 'r gorchymmyn hwn. Am hyny, dylai pennaethiaid, a swyddogion parchus ein gwlad, ymdrechu yn fwy o'i blaid; er mwyn *gogoniant* Duw, eu diogelwch eu hunain, a'n gwlad. Y mae diwygio mewn cadw Sabbath yn foddion i ddiogelu breninoedd, a thywysogion, a'u deiliaid, rhag barnedigaethau Duw. (*gwel* Jer. xvii. 24, 25.) Am hyny, O, swyddogion anrhydeddus ein teyrnas, defnyddiwch y cyfreithiau gogoneddus sydd genych yn eich dwylaw, yn erbyn y bai gwaeddfawr hwn, sydd yn cyffrôi Duw i dywallt ei farn arnom. (adn. 27.)

2. Gweinidogion yr efengyl, a swyddogion eglwysig.---1. Byddwch siamplau i'r praidd mewn iawn dreulio 'r Sabbath.----2. Dangoswch *natur*, a *gogoniant* y gorchymmyn i'r bobl, yn ddirgel a chyhoeddus; y'nghŷd â'r ddyledswydd, y fraint, a'r budd o'i gadw 'n sanctaidd: y pechod, y niweid, a'r golled o'i halogi.----3. Ceryddwch y rhai sydd yn ei *halogi*, drwy weithredoedd neu eiriau---yn enwedig, y crefyddwŷr sydd drwy ymddiddanion *bydol*, neu *gnawdol* ac *ofer*, yn eu llygru eu hunain ac ereill; cyn, ac ar ol, pregethau, &c. a thrwy hyny, yn annog Duw i felldithio eu bendithion; ac yn ymddifadu eu hunain o fudd y moddion:----Ni byddwch lân heb hyn.

3. Penau teuluoedd, attoch chwi yn bennodol y cyfeiriwyd y gorchymmyn---' Tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th was, na'th forwyn,' &c. O ymdrechwch i roddi siamplau da i'ch teuluoedd i gadw 'r Sabbath, gan eu cynghori a'u cyfarwyddo pa fodd i'w gadw yn sanctaidd; a gwneuthur iddynt roddi eu gwaith heibio yn brydlon nos Sadwrn, i ochelyd achlysuron i'w dori:---eu ceryddu yn ofn Duw am ei *halogi*...... Och, y mae llawer tad a mam, wedi ceryddu eu plant, yn llym, am wneuthur *gwerth ceiniog* o *golled* iddynt hwy; ond ni ddywedasant air erioed wrthynt ó blegid tori 'r Sabbath! O na fyddwch foddlon, rïeni, a phenau teuluoedd, i adael i'ch plant a'ch teulu *halogi* yr Sabbath. Grist'nogion, o bob enw a graddau, goddefwch i mi ddeisyf arnoch, *er mwyn gogoniant Duw*, Dad, Mab, ac Yspryd Glân, ac *er mwyn llwyddiant yr efengyl*, adeiladaeth yr eglwys, a'ch budd ysprydol a naturiol eich hunain---perchwch y Sabbath, gan ei sancteiddio ef, a'i alw yn hyfrydwch, a sanct yr Arglwydd yn ogoneddus.

Yr ydwyf yn meddwl fod diwygiad neu adfeiliad yn yr eglwys, yn ymddangos yn fuan, yn y dull o *gadw* 'r Sabbath. Pan fyddo *deffroad* a *diwygiad* yn yr eglwys, a goruchwyliaethau Duw yn *bwysig* ar ysprydoedd dynion, y mae 'n hawdd galw 'r Sabbath yn *hyfrydwch*. Ië, y maent yn ei *gadw* yn fanwl a sanctaidd; a'r dydd yn ymddangos yn rhy fyr ganddynt yn y *gwaith*:---Pan fyddo *dirywiad* yn yr eglwys, y mae hyn yn colli yn fuan. Y mae addoli Duw yn myned yn faich---nid oes blas ar ddarllen y Gair, ei

wrando, na myfyrio arno; nac ar weddïo Duw na'i foliannu, nac ar ymddiddan am bethau ysprydol. Y mae dynion yn amddifeid o fater *cadw* Sabbath yn eu meddyliau a'u myfyrdodau. Nid yw eu holl feddyliau ar bethau addas i'r Sabbath; am hyny y maent yn tori allan i ymddiddanion bydol---achos eu cymmydogion---neu y pethau mwyaf cyffredin mewn crefydd. Y mae caledwch, neu dynerwch, cydwybod ---cnawdolrwydd, neu ysprydolrwydd, proffeswŷr yn ymddangos, yn eu dull o *gadw* 'r Sabbath.

Nid oes genyf ond *gorchymmyn* y Traethawd canlynol i fendith Duw:----Da genyf gael bwrw fy *hatling* i drysorfa 'r deml, i blith y llawer à fwriwyd i mewn gan rai enwog iawn.-----Dymunaf arnoch basio heibio i'r colliadau sydd ynddo; ac os caiff rhyw un ryw fendith wrth ei ddarllen, rhodded y gogoniant i Dduw yn *unig*:.....

EFE YN UNIG SYDD DEILWNG.

Bod iddo ef gael y GOGONIANT, a fy mrodyr, a'm cŷdwladwŷr gael LLES, yw dymuniad eich

*annheilwng frawd, a'ch gwas, dros Grist,*

JOHN ELIAS.



# TRAETHAWD AR Y SABBATH.

*Exod.* xx. 8.

'COFIA Y DYDD SABBATH I'W SANCTEIDDIO EF.'

YN y gorchymmyn hwn, y mae Duw yn ei ddangos ei hun yn Ben-Arglwydd ar ein hamser.—Y mae y deg gorchymmyn yn cynnwys ein dyledswydd tu ag at Dduw, a thu ag at ein cymmydog:.....Y llech gyntaf yn cynnwys, mewn pedwar gorchymmyn, ein dyledswydd tu ag at Dduw: a'r ail lech, mewn chwech o orchymmynion, yn cynnwys ein dyledswydd tu ag at ein cymmydog.

Yn y gorchymmyn cyntaf, y mae Duw yn ei amlygu ei hun yn wrthddrych addoliad, ac yn gofyn i ninnau ei addoli ef, ac ef yn unig; a hyny mewn modd sanctaidd a pharchus.

Yn yr ail, y mae efe yn dangos y drefn, yn ol pa un y mae yn rhaid iddo gael ei addoli: sef, mai nid drwy ddelwau a dychymmygion dynion; ond, yn ol ei reolau a'i drefniadau ef ei hun yn unig.

Yn y trydydd, y mae efe yn dangos y parch dyladwy oddi wrthym i Dduw, ei briodoliaethau, a phob peth yn perthyn iddo, wrth ei addoli, ac yn ein holl ymddygiad yn gyffredinol—gan anrhydeddu a sancteiddio ei enw.

Yn y pedwerydd, y mae yn hyspysu yr amser neillduol y myn efe gael ei addoli ynddo; sef, un dydd o bob saith, a bod hwnw i'w dreulio yn gwbl sanctaidd, ac yn hollol iddo ef ei hunan.

Wrth sylwi ar y pedwerydd gorchymmyn, y mae 'n angenrheidiol dal sylw ar dri pheth, sef,

I. MOESOLDEB Y GORCHYMMYN.

II. NEWIDIAD Y DIWRNOD DAN YR ORUCHWYLIAETH NEWYDD.

III. MEWN PERTHYNAS I GADW 'R DYDD YN DDYDD SANCTAIDD.

I. Fod y pedwerydd gorchymmyn yn gangen o'r ddeddf foesol, a roddwyd i Adda cyn y cwymp, ac a ail gyhoeddwyd ar Sinai; a roddwyd yn yr arch; a gadwyd yn berffaith gan Grist; ac y sydd yn cael ei hysgrifenu ar galonau y saint.

Sylwiad.....Y mae pob gorchymmyn, a roddes Duw i ni, naill ai yn orchymmyn moesol, naturiol, neu yn orchymmyn pendant, pen-arglwyddiaethol.

Wrth orchymmyn moesol, yr ydwyf yn deall, rhyw orchymmyn sydd â'i rwymedigaethau yn tarddu oddi ar natur pethau; ac oddi wrth sefyllfa naturiol gyffredinol dynol-ryw yn y byd hwn: ac nid oddi wrth orchymmyn pennodol Duw yn unig; megis caru Duw, a'i addoli; caru ein cymmydog, a pheidio ei ddrygu a'i niweidio mewn un modd.

Wrth orchymmyn pendant, yr ydwyf yn deall, y gorchymmyn hwnw sydd â'i rwymedigaethau yn tarddu, yn unig, oddi ar ewyllys pen-arglwyddiaethol Duw, mewn perthynas i beth nad oedd o'r blaen, na da na drwg, ynddo ei hun, o ran natur a threfn pethau; ond y mae ei dda, neu ei ddrwg, yn cyfodi yn unig oddi wrth orchymmyn pen-arglwyiaethol Duw. Megis y gorchymmyn hwnw i'n rhïeni cyntaf, iddynt beidio bwytta o ffrwyth y pren oedd y'nghanol yr ardd; yr hyn nid oedd na da na drwg, yn ol natur pethau. Ond, yr oedd peidio â'i fwytta yn dda, *yn unig*, am i Dduw orchymmyn peidio: a'i fwytta yn ddrwg, *yn unig*, ar gyfrif y gorchymmyn. Felly, hefyd, yr oedd gorchymmynion y ddeddf seremoniol; ac amryw orchymmynion y ddeddf wladol, i Israel. Y rhai hyn oeddynt yn perthyn i ryw bersonau neilltuol, dros ryw amser pennodol.

Sylwiad.....Rhoddes Duw dair deddf i Israel, sef, 1. Y Ddeddf Foesol, yr hon sydd gynnwysedig yn y deng air, neu y deg gorchymmyn. 2. Y Ddeddf Seremoniol, am drefn eu haddoliad. 3. Y Ddeddf Wladol, am eu trefniadau gwladol. Efe a roddes y Ddeddf Foesol iddynt, fel dynion:...a'r Ddeddf Seremoniol iddynt, fel eglwys:...a'r Ddeddf Wladol iddynt, fel gwladwriaeth.

Y mae 'r gorchymmyn am sancteiddio 'r Sabbath, o

ran ei swm a'i sylwedd, yn orchymmyn moesol; er bod rhai pethau pennodol ynddo: Etto, nid yw y rhai pethau hyny yn tynu 'r gorchymmyn o fod yn foesol.——Peth moesol, naturiol, yw i ddynion roddi rhan o'u hamser at wasanaeth Duw. Ie, a pheth moesol oedd i ddyn roddi y rhan hyny o'i amser a bennodai Duw iddo neillduo i'w addoli ef. Ond, peth pennodol pen-arglwyddiaethol yn Nuw, oedd sefydlu un dydd o bob saith i'w addoli. Ond, wedi i'r Arglwydd, drwy ei orchymmyn, a'i siampl, yn y dechreuad, hyspysu i'r dyn yr amser a bennododd, yr oedd yn beth naturiol i'r dyn gyd-ymffurfio â Duw, ufuddhâu iddo, a defnyddio ei amser yn ol y drefn hon.

Yr oedd angenrheidrwydd naturiol, rhesymol, am Sabbath, neu ran neillduol, bennodol, o'n hamser i wasanaethu Duw, a'i addoli ef.

1. Y mae yn beth naturiol, rhesymol, bod Duw yn un i'w addoli: a bod yn ddyledswydd ar holl ddynolryw, y'mhob oes o'r byd, roddi addoliad iddo, a'i wasanaethu ef.

2. Yr oedd yn rhesymol, yn ol cyfansoddiad natur dyn, yn ei greedigaeth, iddo gael Sabbath, neu amser pennodol, neilltuol i addoli Duw. O blegid, ni wnaethpwyd y dyn yn yspryd i gyd, fel yr angylion; nac yn gnawd i gyd, fel yr anifeiliaid: ond yn greadur canol, o gnawd, ac yspryd anfarwol hefyd. Yr oedd efe, o ran gosodiad ei natur, i fod yn ei weithrediad rhwng pethau ysprydol, nefol, a phethau daearol. Nid oedd efe fel yr angylion, i fod gyd â phethau ysprydol yn ddidor; nac fel yr anifeiliaid, heb ddim a wnelai â phethau ysprydol. Felly, gan hyny, yr oedd yn angenrheidiol iddo gael gorphwysfa; yn un peth, o ran ei gorph, yr hwn oedd o natur ddaearol, ac o ran ei yspryd, fel y gallai neillduo oddi wrth ei lafur di-bechod, at addoliad Duw.

3. Fel y mae dynion yn greaduriaid cymdeithasol, y mae yn gweddu iddynt addoli Duw, yn gyhoeddus, yn gynnulleidfaoedd, gyd â'u gilydd, yn y dull mwyaf parchus, sanctaidd, a chrefyddol: a rhoddi eu holl feddylfryd a'u calon ar hyny, yn neilltuol oddi wrth bob peth arall.——Yn ganlynol, y mae 'n

rhaid bod amser pennodol wedi ei sefydlu, a chydsynio mewn perthynas iddo, cyn y galler ymgynnull i addoli.

4. Fel y mae deddf natur yn dangos, bod dyn yn greadur ag y mae 'n perthyn iddo addoli Duw; felly, hefyd, y mae 'r un ddeddf yn dangos y dylem ei addoli yn gyhoeddus ac yn gymdeithasol. Gan ein bod yn rhwym mewn pethau ereill i gymdeithasu â'n gilydd, a thrwy hyny i fod yn gynnorthwy y naill i'r llall—diammeu, wrth yr un ddeddf, ein bod yn rhwym i gymdeithasu â'n gilydd yn addoliad Duw; ac i ddangos pob cydgordiad yn y pethau sydd yn perthyn i'w ogoniant ef. Yn ganlynol,

5. Y mae 'n amlwg, yn ol deddf natur, fod rhyw amser pennodol i'w neilltuo i addoli Duw yn gymdeithasol a chyhoeddus. Y mae 'n amlwg, hefyd, mai Duw, yr hwn yw gwrthddrych addoliad, ac Arglwydd y dyn, a'i amser hefyd, yw 'r un y mae 'n gweddu iddo bennodi 'r amser hyny. Megis yr oedd goleuni greddfol, tufewnol, yn y dyn, yn dangos iddo bod rhyw amser i'w neillduo i addoli Duw, yn barchus ac yn gyhoeddus; felly yr oedd yr addysgiadau a dderbyniodd, oddi wrth waith, a gorphwysiad Duw, yn dysgu iddo mai un dydd o saith oedd wedi ei bennodi, ac yn ofynol i'r dyben mawr hwn.——Y mae un dydd o saith yn orphwysiad sanctaidd, wedi ei sefydlu ar yr un seiliau moesol, ag ydyw priodas un gwr âg un wraig yn unig —y mae hon yn ddeddf ddigyfnewid, medd Crist, 'Yn wrryw ac yn fanyw y creodd Duw hwynt.'

6. Megis y mae yn hollol, ac yn gwbl addas i ryw ran bennodol o'n hamser gael ei neillduo i addoli Duw, fel y gallem rodd pob gorchwylion ac achosion bydol heibio, ac y gallem ymroddi yn fwy rhydd a hollol, mewn ymarferiadau ysprydol a dyledswyddau crefyddol, yn addoliad neilltuol Duw; felly, y mae 'n amlwg hefyd fod rhyw ran o amser yn fwy addas na'i gilydd. Pe buasai yn rhy anfynych, megis unwaith yn y flwyddyn, neu 'r cyffelyb, diau y buasai yn dra anaddas, mewn amryw ystyriaethau: yr ochr arall, pe buasai yn rhy fynych, buasai yn anfanteisiol o ran amryw bethau. Ond, y mae un

dydd o bob saith, yn ol trefn, gorchymmyn, a siampl Duw, yn dra addas, yn mhob ystyriaeth.

SYLWIAD.....Gellir profi, drwy amryw resymau, fod y pedwerydd gorchymmyn yn orchymmyn moesol. (1.) Nid yw yn seremoniol, o blegid, 1. Trefnwyd ef cyn y cwymp, pryd nad oedd seremoniau yn bod. 2. Y mae yn ei rym wedi dirymu y seremoniau. (2.) Nid gorchymmyn yn y ddeddf wladol ydyw: 1. Rhoddwyd ef cyn neillduo Israel i fod yn wladwriaeth. 2. Y mae yn ei rym wedi eu gwasgaru, pryd nad ydynt yn wladwriaeth mwyach. Ie, y mae yn ei rym i genhedloedd ereill, cystal ag iddynt hwythau: ie, pennodir dieithriaid ynddo, 'Na 'r dieithr a fyddo o fewn dy byrth.'

AMRYW RESYMAU YN PROFI FOD Y PEDWERYDD GORCHYMMYN YN Y DDEDDF FOESOL.

1. Rhoddwyd ef i Adda, cyn y cwymp, pan oedd efe etto yn ei berffeithrwydd.——Cafodd y Duw anfeidrol, yn ei feddwl ei hun, greu rhyw filoedd aneirif o greaduriaid, â'i air, o ddim. Nid o ran fod arno eisiau dim, o blegid yr oedd efe yn anfeidrol gyflawn o bob cyfoeth, dedwyddwch, a gogoniant, ynddo ei hun, erioed; ond o blegid bod yn ei feddwl, erioed, gyfranu o'i ddaioni i ereill; a'i ddatguddio ei hun i filoedd o greaduriaid, o waith ei ddwylaw. Felly yn y pryd, ac yn ol y portreiad, oedd yn ei feddwl, er tragywyddoldeb, y gwnaeth efe y nefoedd, y ddaear, a'r môr, a'u holl luoedd hwynt; mewn chwe diwrnod: ac efe a orphwysodd y seithfed dydd, oddi wrth ei holl waith, yn *creu;* ac a fendigodd, ac a sancteiddiodd y seithfed dydd, neu y dydd Sabbath. (Gen. ii. 3. Exod. xx. 8.) Gallasai Duw wneuthur yr holl greedigaeth mewn ychydig oriau. Gallasai, hefyd, fod gannoedd o flynyddoedd yn creu yr hyn a greuwyd; ac etto bod yn anfeidrol ryfedd yn ei waith. Ond, efe a ddewisodd greu y cwbl mewn chwe diwrnod; a gorphwyso y seithfed dydd: er mwyn rhoddi siampl i ddyn weithio chwe diwrnod, a gorphwyso y seithfed.

Mewn perthynas i orphwysiad Duw, ni's gallwn feddwl fod blinder na lludded arno; o blegid, 'Ni flina ac ni ddiffygia Duw

tragywyddoldeb.'—Dau beth a feddylir wrth ei fod yn gorphwyso:——1. Pedio crëu ychwaneg nag a grëodd efe. (Exod. xxxi. 17.) Ac mai ar y seithfed dydd y peidiodd ac a gorphwysodd efe: Ni wnaeth un rhyw ychwaneg o greaduriaid. Ond, y mae yn gweithio etto yn ei ragluniaeth, yn cynnal, ac yn rheoli ei holl greaduriaid. 'Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn.' (Ioan v. 17.)———2. Ymfoddloni, ac ymhyfrydu yn yr hyn a wnaeth: Megis y mae 'r gair yn Salm civ. 31. 'Yr Arglwydd a lawenycha yn ei weithredoedd.' Edrychodd Duw ar ei waith yn niwedd pob un o'r dyddiau cyntaf, ac wele da ydoedd; etto yr oedd rhywbeth yn anorphen o hyd: Ond, wedi gorphen gwaith y chwe diwrnod, efe a edrychodd ar ei holl waith, ac wele *da iawn ydoedd;* yn enwedig, wedi gwneuthur dyn. Yr oedd pob peth yn dda wrth adeiladu preswylfod i'r dyn, a phethau at ei wasanaeth; ond, wedi ei wneuthur ef, fel preswylydd yr adeilad hardd, wele pob peth yn dda iawn. Yna y gorphwysodd Duw, yr ymfoddlonodd, ac yr ymhyfrydodd yn yr hyn a wnaeth.—Yr oedd Duw yn ymhyfrydu mewn modd enwedig, yn ei amlygu ei hun yn y pethau a wnaeth; ac yn benaf yn y dyn. Er fod Duw yn gweled pob peth yn dda, etto, nid oedd efe yn gweled mo'i ddelw ar ddim a'r a wnaethai, ond ar y dyn.—Ac yna y bendigodd, a sancteiddiodd y seithfed dydd.

(1.) *Bendigodd ef:*—Wrth ei fendigo, 1. Cyhoeddodd yn fendigedig, fel dydd ag yr oedd efe ei hunan wedi cael llawer o hyfrydwch ynddo, wrth sylwi ar ei holl waith, mewn trefn wrth ei fodd; fel y mae melldithio dydd, yn arwyddo, ei fficiddio, a'i gyfrif yn ddydd annedwydd.—2. Ei roddi fel bendith fawr i ddyn; yn ddydd i orphwys, yn ol siampl Duw: ïe, i fyned i mewn i'w orphwysfa ef. (Heb. iv. 3, 4.) I ymhyfrydu yn ngweithredoedd Duw, ac yn yr amlygrwydd o Dduw a'i briodoliaethau, yn y pethau a wnaed: yr oedd ei fod, ei ddoethineb, ei allu, ei ddaioni, &c. yn ymddangos yn hynod yn ei weithredoedd.

(2.) *Sancteiddiodd ef:*—1. Trwy ei siampl. 2. Trwy ei orchymmyn.——Y mae y gair sancteiddio, y rhan fynychaf, yn y Bibl, yn arwyddo neillduo rhywbeth at wasanaeth ac addoliad Duw. Felly yma, hefyd, neillduo dydd o bob saith, i ddyn

adael pob peth, a myned i addoli Duw; ac i ymorphwys ynddo. 'Y Sabbath a wnaethpwyd er mwyn dyn.' (Marc ii. 26.) Bendigwyd a sancteiddiwyd ef er mwyn dyn.——Er mwyn dyn y cymmerodd Duw chwe diwrnod i greu 'r bydoedd, yn lle rhyw yspaid arall o amser. Er mwyn dyn y gorphwysodd efe y seithfed dydd.—Yn ei orphwysfa ef y mae dyn yn cael gorphwysfa.

Y mae genym y siampl mwyaf anghydmarol i sancteiddio'r Sabbath, sef, siampl Duw ei hunan.——Nid oes genym ond siampl dynion pechadurus, a diafol, i'w dori; ond y mae genym siampl Duw i'w sancteiddio.

Y mae'n dra thebygol fod y patrieirch yn cadw y Sabbath. Nid ydyw bod heb sôn, amlwg, am gadw y Sabbath, o Adda hyd Moses, yn un prawf nad oeddynt yn ei gadw. Y mae'r hanesiaeth mor fyr, yn cynnwys hanes dros 2500 o flynyddoedd, mewn ychydig iawn o le.—Dywed rhai nad oes un crybwylliad pennodol am gadw'r Sabbath wythnosol, o'r amser yr oedd Israel yn yr anialwch, hyd ddyddiau Dafydd; er, bod allan o ddadl, eu bod yn ei gadw.—Nid oes sôn, pennodol, chwaith am enwaedu 'r wythfed dydd, ar un plentyn gwrryw, o Isaac hyd Iöan Fedyddiwr; etto, dïammeu eu bod yn enwaedu ar eu plant, yn ol y drefn.—Yr ydym yn darllen yn fynych yn y gair am ddynion sanctaidd Duw yn aberthu; er nad ydym yn darllen am sefydliad aberthau, yn moreu-ddydd amser: ond, o herwydd eu bod hwy yn arfer aberthu, a'r arferiad hyny yn gymmeradwy gan Dduw, yr ydym yn penderfynu fod aberthu yn arferiad o osodiad Duw. Felly am y Sabbath; yr ydym yn gweled yn amlwg fod ei sefydliad ef gan Dduw, er nad oes genym un hanes bennodol, amlwg, am y patrieirch yn ei gadw: Etto, gan fod y Sabbath o osodiad Duw, yr ydym yn penderfynu ei fod dan eu sylw y'mhob oes.—Y mae llawer o eiriau, neilltuol, yn peri i ni feddwl fod y Sabbath dan eu sylw yn barchus.

1. Mewn perthynas i Cain ac Abel, dywedir eu bod, wedi talm o ddyddiau, yn aberthu, (Gen. iv. 3.) neu ar ymyl y ddalen, yn niwedd dyddiau. Yn niwedd yr yspaid hyny o ddyddiau, sef, wythnos; yn ol meddyliau amryw.* Y mae y gair yn go-

* Vid. Pool's Annotations. Assembly of Divines' Annotations. Geirlyfr Ysgrythyrol, dan y gair Abel, &c. &c.

lygu rhyw amser pennodol, gan fod y ddau yn cyd-aberthu. Diammeu nad oedd Adda ddim wedi anghofio y Sabbath y pryd hyny; ac y mae yn dra thebygol, hefyd, na bu efe ddim yn esgeulus yn ei gylch, heb ddywedyd am dano wrth ei blant, fel y dysgodd hwynt i aberthu.——2. Y mae 'n dra thebygol fod Noa yn cadw Sabbath yn yr arch. (Gen. viii. 10.) Y mae 'n sicr ei fod yn sylwi ar gylchiad y dyddiau, bob yn saith; oblegid saith niwrnod yr arosodd efe wedi anfon y gigfran allan, cyn danfon y golommen: a saith niwrnod yr arosodd heb anfon y golommen drachefn. (adn. 10.) Arosodd saith niwrnod y drydedd waith cyn ei hanfon, ac ni ddychwelodd hi mwyach atto ef. (adn. 12.)—Paham yr oedd efe yn aros saith niwrnod y waith gyntaf, yr ail, a'r drydedd waith, oni bai fod sylw neilltuol ganddo ar y seithfed dydd? Gellir meddwl mai 'r Sabbath, neu 'r dydd cyntaf wedi 'r Sabbath, yr oedd efe yn ei hanfon allan; fel pe buasai yn edrych, ar ol bod yn cadw Sabbath, drachefn a thrachefn, a oedd digofaint Duw yn llonyddu; ac a orphwysai efe drachefn yn ei greaduriaid.*——3. Y mae 'n debyg iawn fod Abraham, y'nghyd â'i deulu, yn cadw 'r Sabbath; o blegid y mae Duw wedi dywedyd am dano, y gorchymmynai efe i'w blant, ac i'w dylwyth, ar gadw o honynt ffordd yr Arglwydd. (Gen. xviii. 19.) Y mae 'n sicr ynte fod cadw 'r Sabbath *yn* ffordd yr Arglwydd. Trachefn, y mae Duw yn dywedyd fod Abraham yn cadw ei gadwriaeth, ei orchymmynion, ei ddeddfau, a'i gyfreithiau ef. (Gen. xxvi. 5.) Diddadl fod cadw 'r Sabbath yn un o'r deddfau.——4. Pwy all ddywedyd nad dyma 'r dydd yr oedd meibion Duw yn sefyll o flaen JEHOVAH. (Job i. 6.)——5. Sonir am *wythnos*, fel cyfrif adnabyddus yn nheulu Laban. 'Cyflawna di *wythnos* hon.' (Gen. xxix. 27.) Ië, yr oeddynt yn cyfrif eu dyddiau, wrth yr wythnos, y'mysg y Cenhedloedd, y rhai oeddynt hollol ddïeithr i'r ysgrythyrau. ——6. Yr oeddynt yn sylwi ar gadw 'r Sabbath, fel hen drefn, cyn dyfod o honynt at Sinai. 'Ar y chweched dydd y casglent ddau cymmaint o fara, &c.—Y foru y mae Sabbath sancteiddd i'r Arglwydd.' (Exod. xvi. 22, 23.) Nid oes dim sôn fod yr Arglwydd yn adgoffa iddynt am y Sabbath, cyn hyny, ar ol

* Dr. Owen on the Sabbath: page 82.

eu dyfodiad o'r Aipht. Yr oedd y Sabbath yn meddwl y bobl o'r blaen, ac am hyny, hwy a barottoisant atto, drwy gasglu digon o fanna y chweched dydd, i'w cynnal ar y seithfed; er fod y pennaethiaid wedi cynnefino â rhagrith yr Aipht, nes yr oeddynt agos a'i anghofio:—ond yr oedd Moses yn hyspys o hono.———7. Gan fod gan Dduw eglwys yn y byd, yn mhob oes, 'yn golofn a sylfaen y gwirionedd,' yn sylwi ar ei ddeddfau, ac yn rhodio ynddynt; diammeu ei bod yn sylwi ar hwn hefyd.

(3.) Y mae gosodiad y gorchymmyn yn y deng air deddf, yn dangos yn amlwg mai gorchymmyn moesol ydyw: o blegid, os dywedir nad yw hwn yn orchymmyn moesol, yna y canlyn, nad oes deg gorchymmyn moesol yn bod; yr hyn sydd gwbl groes i air Duw, yn Deut. iv. 13. 'Efe a fynegodd i chwi ei gyfammod a orchymmynodd i chwi i'w wneuthur, sef y deng air.'

2. Llefarwyd ef gan Dduw ar Sinai, o ganol y tân, fel y naw ereill, y'nghlywedigaeth holl Israel. (Deut. iv. 12.) Llefarwyd y deddfau ereill, sef, y seremoniol a'r wladol, wrth Moses ei hunan, yn y mynydd, ac nid yn gyhoeddus, lle y clywai y bobl oll.——Llefarwyd y deng air wrth yr holl bobl, i ddangos, 1. Fod pawb yn euog yn eu hwyneb.—2. Fod yn ddyledswydd ar bawb eu cadw.—3. I ddangos y byddai raid i bawb sefyll yn eu hwyneb yn y farn ofnadwy.

3. Ysgrifenwyd ef â bŷs Duw ar y llechau cerrig, ddwywaith, fel y lleill.——1. I ddangos y buasent ar y galon, gynt.—2. Arwyddwyd yn nhoriad y llechau, eu bod wedi eu llychwino, a'u dryllio, drwy bechod.—-3. Ysgrifenwyd hwynt eilwaith, i ddangos yr ysgrifenai Duw ei gyfraith drachefn ar galonau ei bobl, dan yr oruchwyliaeth efengylaidd. (Deut. iv. 13.)

4. Rhoddes Duw hwn gyd â'r naw ereill yn yr arch. Ac nid oedd dim yn yr arch ond y ddwy llech faen a osodasai Moses yno, yn Horeb. (1 Bren. viii. 9.) Nid oedd dim yn yr arch ond y ddeddf oedd y'nghalon Crist; o blegid cysgod o hono oedd yr arch. Rhoddwyd y ddeddf foesol yn yr arch, a'r ddeddf seremoniol yn ei hystlys; un i'w chyflawni a'i chadarnhâu, a'r

llall i'w diddymu gan Grist, 'yr hwn yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un sy 'n credu.

5. Yr oedd y drugareddfa ar wyneb y gorchymmyn hwn, yn gystal a'r lleill; cysgod o iawn Crist. Nid oedd Crist yn rhoddi iawn ond i'r ddeddf foesol yn unig.

6. Ni ddiddymwyd yr un o'r deg gorchymmyn, a lefarwyd gan Dduw o ganol y tân, ar Sinai; a ysgrifenwyd ar y llechau, â bys Duw; a gadwyd yn yr arch; ac a guddiwyd â'r drugareddfa.—Ni ddiddymwyd yr un o'r rhai hyn gan Grist. 'Na thybiwch,' medd efe, 'fy nyfod i dori y gyfraith.' Mat. v. 17. Nid parchus yn ei eglwys ef y neb a anmharcho ei orchymmynion. 'Pwy bynag a doro un o'r gorchymmynion lleiaf hyn, ac a ddysgo i ddynion felly, lleiaf y gelwir ef yn nheyrnas Dduw.' (adn. 19.) Hyny yw, ni fydd efe ddim yno; ni chaiff ei oddef yn yr eglwys efengylaidd; na'i dderbyn i'r nefoedd.——'Nid â dim aflan i mewn yno.'

Y mae torwŷr y gorchymmyn hwn yn euog o dori yr holl gyfraith. 'Canys pwy bynag a gadwo 'r gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwngc, y mae efe yn euog o'r cwbl.' Canys y neb a ddywedodd, Na odineba, a ddywedodd hefyd, Na ladd. Ac os ti ni odinebi, etto a leddi, yr wyt ti yn troseddu y gyfraith. (Iago ii. 10, 11.) Ië, os ti ni leddi, etto a halogi y Sabbath, yr wyt yn troseddu y gyfraith frenhinol, anghyfnewidiol, hon.—Y mae y ddeddf foesol yn ddigyfnewid byth; â'r gorchymmyn hwn ynddi. Y mae hi yn anfeidrol dda, ni's gellir ei newid, er gwell: Y mae Duw yn anfeidrol dda, ni's gall efe ei newid er gwaeth. Cyfraith frenhinol ydyw, ni's gall neb arall ei nhewid; am hyny, hi a fydd yn ddigyfnewid byth.

7. Prophwydwyd am y parch a roddid i'r Sabbath, dan yr oruchwyliaeth newydd, a'r bendithion a fyddai i'r rhai a'i parchent ef. 'Canys fel hyn a dywed yr Arglwydd wrth y rhai dispaddedig,' hyny yw, y rhai annerbyniol ac a'nghymmeradwy dan y gyfraith; 'y rhai a gadwant fy Sabbothau, &c. Rhoddaf iddynt yn fy nhŷ, ac o fewn fy magwyrydd, le ac enw gwell na meibion ac na merched: rhoddaf iddynt enw tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith. (Esa. lvi. 4, 5.)

Gwelwn yn amlwg, oddiwrth yr hyn a ddywedpwyd, fod y pedwerydd gorchymmyn yn orchymmyn moesol; o ran ei swm a'i sylwedd. Sef, ei fod yn gofyn dydd, o bob saith, i gael ei neilltuo i addoli Duw, mewn modd parchus, tra byddo amser yn bod; ac wedi darfod amser bydd yn gofyn tragywyddoldeb i'w addoli ef, yn ddi dor.

II. Y mae 'r Sabbath wedi ei newid, dan yr oruchwyliaeth efengylaidd, o'r seithfed dydd, i'r dydd cyntaf o'r wythnos.——Etto, nid yw newidiad y diwrnod yn un prawf nad yw 'r gorchymmyn yn orchymmyn moesol: o blegid, nid y seithfed dydd, yn bennodol, yn ol rhifedi y dyddiau wedi eu creu, ydyw swm y gorchymmyn, ond dydd o bob saith; ac hefyd, hyd y gallant gadw coffadwriaeth, y seithfed o ran trefn; hyd nes y deuai Arglwydd y Sabbath i'w newid. Ond, yr oedd agos yn anmhosibl cadw y seithfed dydd, yn ol trefn, o'r dechreuad yn mhob man; wrth ystyried bod yr haul wedi sefyll, yn nyddiau Josua; a bod yr haul wedi dychwelyd deg o raddau yn ei ol, ar ddeial Ahaz: heblaw ei bod yn ddydd yn y naill gwrr i'r byd pan y byddo yn nos yn y cwrr arall:—Ond dydd o bob saith ydyw matter y gorchymmyn.——Felly, y mae y Sabbath efengylaidd yn seithfed dydd yn bresenol, yn ol iaith y gorchymmyn, sef, seithfed ar ol chwech o weithio. Nid ydyw y gorchymmyn yn dywedyd, Cofia y seithfed dydd i'w sancteiddio ef; ond, 'Cofia y dydd Sabbath,' &c. Trachefn, nid yw yn dywedyd yn Exod. xx. 11. Bendithiodd yr Arglwydd y seithfed dydd: ond, 'Bendithiodd yr Arglwydd y dydd Sabbath.' Y mae yn dywedyd, 'y seithfed dydd yw Sabbath yr Arglwydd dy Dduw.' A thrachefn, 'ac a orphwysodd y seithfed dydd,' h. y. Dyma Sabbath Duw, sef, y seithfed dydd, ac ar hwn y gorphwysodd efe; ac am hynny, dyma ein Sabbath ninnau; hyd oni orphwyso Duw wedi gwneuthur gwaith newydd, mwy rhyfedd, sef, gwaith iachawdwriaeth, ac yna dylem newid y dydd i gofio hwnw yn hytrach.

Er bod y gorchymmyn am gadw 'r Sabbath yn foesol, o ran ei sylwedd, bob amser, ac yn ei rym y'mhob oes o'r byd, etto, yr oedd yn arwyddo pethau gwahanol; a dull gwahanol

ganddynt ar ei gadw; yn ol y gwahanol oruchwyliaethau, neu gyfammodau y byddent yn byw danynt.——Rhyw orphwysiad, o eiddo Duw, oedd ei sylfaen dan bob goruchwyliaeth; ac i orphwysfa Duw y mae y rhai a gredasant yn myned. (Heb. iv. 3, 4.) Arwydd o'r orphwysfa yma, moddion i'w mwynhâu, a gwystl o berffeithiad mwy o honi, oedd, ac ydyw, y Sabbath, dan bob goruchwyliaeth.

1. Gorphwysiad Duw, y seithfed dydd, oedd sylfaen y Sabbath yn Eden; ac yn ei orphwysfa ef yr oedd gorphwysfa i'r dyn gael. Yn y boddlonrwydd a gafodd Duw, y'ngwaith ei ddwylaw, a'r amlygrwydd o Dduw, a'i briodoliaethau, yn y pethau a wnaed, yr oedd lle i ddyn ymfoddloni, ac ymddifyru, ac ymorphwys yn barhaus. Yr oedd y Sabbath iddo yn arwyddo ei fod yn cael gorphwysfa yn y pethau y gorphwysodd Duw ynddynt. h. y. Ei fod yn ymddifyru, ac yn ymbleseru, yn y datguddiad o Dduw a'i ddoethineb, ei allu, a'i ddaioni, yn y pethau a wnaed; yn enwedig yn y cyfammod.

2. Yr oedd y Sabbath yn fodd i orphwys yn pethau hyn; i gael gadael heibio y llafur sanctaidd yn Eden, i ymroddi yn hollol i addoli Duw a'i fwynhâu. Yr oedd yn wystl hefyd y cai y dyn fyned y'mlaen i'r orphwysfa, os byddai iddo ufuddhâu. Ond collwyd yr orphwysfa hon yn fuan, drwy gwymp dyn. Trwy 'r cwymp, aeth dyn, yr hwn oedd ar ddelw Duw, ac yn dda iawn yn ei olwg, yn ffiaidd ganddo; darostyngwyd y creadur i oferedd; aeth y ddaear dan felldith Duw; ie, mewn ystyriaeth, collodd Duw ei orphwysfa gynt. Collodd dyn ei orphwysfa yn y datguddiad o Dduw, nes oedd efe yn ffoi oddiwrtho, pan glywodd ei lais; felly, daeth Duw i fod yn ddychryn iddo yn lle gorphwysfa mwyach, oni chair hi ar sail cyfammod arall; a than oruchwyliaeth arall.——Ond, o'i anfeidrol drugaredd a'i ddaioni, datguddiodd Duw ei Fab, yr ail ddyn, pen y cyfammod newydd, yn y cyhoeddiad o Had y Wraig. (Gen. iii. 15.) Trefnodd Duw aberthau i gysgodi aberth ac iawn ei Fab; ac a aroglodd arogl gorphwysdra yn y rhein'y, fel yr oeddynt yn cysgodi aberth Crist. (Gen. iii. 21. a'r viii. 21.) Diammeu fod dynion, y rhai oedd yn cael golwg arno drwy ffydd, yn cael

gorphwysdra ynddo hefyd, gyd â Duw. Llawenychodd Abraham wrth weled ei ddydd ef, o bell.—Dyma sylfaen Sabbath i Dduw a dyn byth!

Mewn perthynas i'r Sabbath, dan oruchwyliaeth Sinai, yr oedd yn arwyddo amryw bethau, perthynol i'r oruchwyliaeth hono; ac amryw bethau yn eu dull yn ei gadw, perthynol i'r oruchwyliaeth hono yn unig.——Gorphwysfa Duw oedd sylfaen eu gorphwysfa hwynt yno. 'A gwnant i mi gyssegr, fel y gallwyf drigo yn eu mysg.' Exod. xxv. 8. Yr oedd Duw yn gorphwys yn y babell, a'r addoliad oedd yno, fel yr oedd yn cysgodi Crist, a phethau efengylaidd. Yr ydoedd yn ymhyfrydu yn y datguddiad oedd efe yn ei roddi o hono ei hun yno, fel Duw iachawdwriaeth, yn ymorphwys ar y drugareddfa: Yn ganlynol, yr oedd lle iddynt hwythau orphwys, yn y datguddiad o Dduw, fel Duw iachawdwriaeth, yn y seremoniau a'r cysgodau hyny; a'r Sabbath yn arwyddo eu bod yn ymorphwys yn yr Arglwydd; ac yr oedd yn fodd, neu gyfrwng, hefyd, drwy ba un yr oedd iddynt gael datguddiad helaethach o hono, wrth ymarfer a'i waith; ac ymorphwys yn fwy tawel arno, ac yn ei iechydwriaeth. Yr oedd y Sabbath yn wystl o'r orphwyso yn Nghanaan, tra buant yn yr anialwch, ac yn enwedig, o'r orphwysfa dragywyddol hefyd. Yr oedd Duw, hefyd, yn ei achos, yn gorphwys y'ngwlad Canaan; a'i bobl yn cael gorphwys yno dan ei aden; ond nid oedd hon ond gorphwysfa gysgodol; nid oedd yn orphwysfa gyflawn, o blegid, pe buasai yn gyflawn, ni buasai eisiau addaw un arall. (Heb. iv. 8.)

Yr oedd Israel yn cadw y Sabbath yn goffadwriaeth am eu gwaredigaeth o'r Aipht. 'Cofia mai gwas a fuost ti y'ngwlad yr Aipht, a'th ddwyn o'r Arglwydd dy Dduw allan oddi yno â llaw gadarn, ac â braich estynedig: am hyny y gorchymmynodd yr Arglwydd dy Dduw i ti gadw dydd y Sabbath.' Deut. v. 15. Y mae creadigaeth y byd, a roddir fel annogaeth i gadw 'r Sabbath, yn Exod. xx. 8, 9, 10. yn cael ei adael allan yma; a'r waredigaeth o'r Aipht yn cael ei roddi i mewn yn lle hyny; a hyn yn perthyn yn bennodol i'r oruchwyliaeth hono. Tybir oddiwrth y gair hwn, mai ar y Sabbath y daeth Israel

drwy 'r Môr Coch.* Yr oedd dyfodiad Israel, yn orfoleddus, drwy 'r Môr Coch yn cysgodi y prynedigaeth, drwy Grist, o gaethiwed gwaeth nâ chaethiwed yr Aipht. Ac os gosodwyd iddynt hwy gymmeryd y waredigaeth yn sylfaen i gadw Sabbath, yn hytrach na 'r orphwysfa wedi creu 'r byd, diammeu fod yn gweddu i ni gymmeryd adgyfodiad Crist o'r bedd, fel pen corph ei eglwys, yn destyn, ac yn sylfaen Sabbath, tra parhâo amser. Yr oedd Crist, yn gysgodol, yn y golofn niwl a thân, yn dyfod i fynu o'r Môr Coch o flaen byddin Israel gynt; ond daeth Crist yn sylweddol, foreu y trydydd dydd, o flaen byddinoedd ei *Israeliaid yn wir*, i fynu o ddyfnach môr. Er iddo gael glàn, mewn ystyriaeth, gyd â'r gair *gorphenwyd*, etto, ni ddaeth ei gorph i'r lan hyd foreu y dydd cyntaf o'r wythnos; ond ar y boreu hwn, daeth i'r lan yn amlwg, a gorfoleddus, fel blaenor ei holl bobl:—daw y llesgaf o'i bobl i'r lan drwyddo ef; am hyny y mae 'n addaw cadw Sabbath, tra byddo amser yn bod, i gofio y fuddugoliaeth werthfawr hon.——Yr oedd yn addas iawn newid y dydd Sabbath, dan yr oruchwyliaeth efengylaidd:—Cawsant hwy newid testyn eu Sabbath, dan yr oruchwyliaeth hono; cawsom ninnau newid y testyn, a'r dydd hefyd, dan yr oruchwyliaeth newydd.

Yr oedd amryw bethau yn eu dull yn cadw 'r Sabbath, perthynol yn unig i'r oruchwyliaeth hono:—Megis, Pennodi taith dydd Sabbath:—Peidio llosgi tân yn eu holl aneddau:—Llabyddio â meini am ei dori, &c.——Er nad ydwyf yn meddwl y dylem ni arfer y pethau hyny, yn bresenol, etto, y mae addysgiadau i ni gael oddiwrthynt.——Dylem weled y perygl o deithiau bydol, dianghenrhaid, yn eu gwaith yn pennodi taith Sabbath:—A'r perygl o arlwyaeth, a'nghymedrol, yn y gwahardd-iad iddynt losgi tân yn eu holl aneddau:—Ac atgasrwydd y pechod o halogi 'r Sabbath, yn y gosp hono o labyddio â meini.

3. Am y Sabbath dan yr oruchwyliaeth newydd. Y mae pob peth yn newydd, yma. (2 Cor. v. 17.) Gan fod pob peth o newydd, yr oedd yn addas iawn newid y dydd, i gael Sabbath

* Vid. Ainsworth on Deut. v. 15. J. Edwards' Perpetuity and Change of the Sabbath.

newydd. Yr oedd yma greadigaeth newydd, (Esa. lxv. 17.) am hyny, yr oedd yn addas bod gorphwysfa newydd. Yr oedd gwaith prynedigaeth yn fwy gwaith nâ chrëu bydoedd.—1. Gwaith ei fysedd yw 'r greadigaeth; dyosgodd ei fraich gadarn i wneuthur iachawdwriaeth.—2. Chwe diwrnod y bu Duw yn gwneuthur y bydoedd: Bu Crist, y Duw cadarn, 34 o flynyddoedd, o'i genhedliad y'mru Mair, hyd foreu y trydydd dydd, heb funud segur chwaith, yn gweithio iechydwriaeth, ddigonol, i ni.—3. Creodd y bydoedd heb un gwrthwynebiad o un lle; ond wrth wneuthur iechydwriaeth, yr oedd y byd hwn, a gallu y tywyllwch, yn ei erbyn; tywysogaethau ac awdurdodau, a chryfder y gelyn.—4. Nid aeth Duw ddim yn dlawd wrth wneuthur y greadigaeth, er ei maint; ond wrth wneuthur iechydwriaeth, 'Yr hwn oedd gyfoethog a ddaeth er ein mwyn ni yn dlawd;' ïe, heb le i roddi ei ben i lawr: Do, efe a chwysodd y gwaed, wrth bwys y gwaith mawr yma.—Ond, er maint y gwaith, a'r rhwystrau, *gorphenwyd.* 'Aeth i mewn i'w orphwysfa ef, gorphwysodd oddiwrth ei weithredoedd ei hun, megis y gwnaeth Duw oddiwrth yr eiddo yntau.' h. y. Gorphenodd Crist waith prynedigaeth, yn llwyr, fel y gorphenodd y Tad waith y greadigaeth; ac aeth i'w orphwysfa foreu y dydd cyntaf, megis yr aeth y Tad y seithfed dydd.

Gorphwysodd, 1. Gorphenodd yr holl waith oedd i'w wneuthur mewn ymostyngiad;—gorphwysodd oddiwrth ddyoddef chwaneg;—oddiwrth dalu y ddyled—y cwbl wedi ei dalu yn llwyr. Er hyny, y mae gwaith yn cael ei ddwyn y'mlaen ganddo etto, ar ddeheulaw 'r Tad, sef, eiriol dros droseddwŷr. Er i'r Tad orphwys oddiwrth grëu, y mae yn cynnal, ac yn llywodraethu ei greaduriaid etto: Felly Crist, er gorphen o hono brynu, a gorphwys oddiwrth y gwaith hyny, etto y mae efe yn eiriol dros y prynedigion yn barhâus; ac yn eu dal, a'u cynnal â'i ras, a'i nerth, nes dyfod o honynt adre yn lân.—2. Ymhyfrydodd yn yr hyn a wnaeth: Edrychodd ar yr hyn a wnaeth o'r bru i'r bedd, ac wele, 'da iawn ydoedd.'

Gorphwysodd y Drindod yn y gwaith a orphenodd Crist.—1. Ymhyfrydodd y Tad yn y datguddiad o'i holl brïodol-

iaethau yn wyneb Iesu Grist, ac yn yr iawn digonol a gafodd cyfiawnder ganddo; a'r anrhydedd a gafodd ei gyfraith sanctaidd ef, y'mywyd ac angeu Crist.—2. Ymhyfrydodd y Mab yn ei waith, wedi ei orphen yn gyflawn wrth ei fodd. Nid oedd achos ganddo i ofidio o blegid dim a fu yn ei fywyd erioed—y cwbl yn anfeidrol wrth ei fodd.—3. Yr oedd yr Yspryd Glân, hefyd, yn ymorphwys yma, ac yn ymhyfrydu yn cymmeryd o'r eiddo 'r Mab, i'w fynegi i'w bobl—wrth ei fodd yn ei ogoneddu ef yn y byd, &c.——Dyma le i ninnau orphwys yn dawel byth: 'Am hyny byddwn ddyfal i fyned i mewn i'r orphwysfa hono.' Heb. iv. 11.

Y mae 'r enaid wedi myned ar grwydr, oddiwrth Dduw, pan y collodd orphwysfa Eden, ac, er chwilio a phrofi pob man, nid oes gorphwysfa nes dyfod yma. Nid oes un man a dal i enaid orphwys, ond yn y lle y mae Duw yn gorphwys.—1. Dyma le i gael heddwch â Duw, drwy waed Crist; a mwynhâu y tangnefedd sydd uwchlaw pob deall.—2. Dyma le i'r enaid gael ei lenwi, hyd nes tori ei syched at bethau ereill: 'Ni sycheda yn dragywydd.'—3. Dyma le i ymhyfrydu, ac ymddigrifo byth, yn y datguddiad o Dduw y'Nghrist. Nid ein brawychu, a'n gyru i ffoi, y mae 'r olwg arno yma; ond ein nesu a'n tynu atto ef.

Dyma sylfaen ein Sabbath ni byth mwy, sef, ei orphwysfa ef.——Dewisodd Crist, Arglwydd y Sabbath, y dydd cyntaf o'r wythnos, i fyned i mewn i'w orphwysfa: am hyny, dyma 'r dydd y mae ei deulu yn ei ddewis, i orphwys yn ei orphwysfa ef.——Dywedaf, fel y dywedodd Ignatius, y merthyr boreu hwnw, 'Bydded i bawb sydd yn caru Crist, barchu dydd yr Arglwydd; y goreu a'r mwyaf rhagorol o'r dyddiau, ar yr hwn y cyfododd ein Bywyd.'

Y mae 'n amlwg mai 'r dydd cyntaf o'r wythnos yw y Sabbath efengylaidd.

1. Prophwydwyd am newidiad y Sabbath, o'r seithfed i'r dydd cyntaf o'r wythnos. 'Bydd ar yr wythfed dydd, ac o hyny allan, i'r offeiriaid offrymu eich poeth-offrymau, a'ch ebyrth hedd: a mi a fyddaf foddlon i chwi, medd yr Arglwydd Dduw.' Ezec. xliii. 27. Mae 'n amlwg fod y prophwyd yn

prophwydo, yn y pennodau yma, am yr eglwys dan yr oruchwyliaeth efengylaidd; felly, y mae 'n rhaid deall, wrth yr wythfed dydd yma, rhyw ddydd neillduol, dan yr oruchwyliaeth efengylaidd. Nid oes dim dyddiau i sylwi arnynt, dan yr oruchwyliaeth hon, ond y Sabbath. Y mae 'r holl wyliau ereill wedi eu diddymu, o blegid mai cysgodol oeddynt: y mae Crist yn ddiwedd i'r rhai hyny oll. Yn ganlynol, rhaid deall wrth yr wythfed dydd, y Sabbath efengylaidd; y dydd cyntaf wedi y seithfed, neu Sabbath yr Iuddewon. Nyni a gawn brophwydoliaeth arall, yn Salm cxviii. 24. 'Dyma 'r dydd a wnaeth yr Arglwydd, gorfoleddwn a llawenychwn ynddo.' Y mae 'r Salmydd yn prophwydo am Grist, ei farwolaeth, a'i adgyfodiad, yn y Salm hon: Gwel Act. iv. 10, 11. Cymmwysir y geiriau yno, at angeu, ac adgyfodiad Crist. Er ei wrthod gan yr adeiladwŷr, sef, yr Iuddewon, a'i groeshoelio, a'i gladdu; etto, cyfododd o'r bedd i fod yn ben congl-faen, etholedig a gwerthfawr, yn adeilad fawr ei eglwys, dros byth. 'Dyma 'r dydd,' sef, y dydd y cyfododd Crist o'r bedd, wedi ei wrthod a'i ladd, gan yr adeiladwŷr, sef, y proffeswŷr Iuddewig. Dyma 'r dydd i'w gofio byth:—boreu y trydydd dydd, y dydd cyntaf o'r wythnos; dydd wedi ei neillduo oddiwrth ddyddiau ereill, tra parhâo amser, i orfoleddu a llawenychu, yn y Crist a gyfododd o'r bedd. Fel y mae 'r haul naturiol, yn gwneuthur dydd naturiol â'i gyfodiad, felly, y gwnaeth Crist, Haul Cyfiawnder, ddydd Sabbath â'i adgyfodiad o'r bedd —gwnaeth ef yn Sabbath â'i adgyfodiad.

2. Yr oedd y dysgyblion yn ymgynnull ar dydd cyntaf o'r wythnos, a Christ yn dangos ei foddlonrwydd iddynt, trwy ymddangos yn eu plith. Yr oedd y dysgyblion yn ymgynnull, brydnawn y dydd y cyfododd Crist o'r bedd. 'A hi yn hwyr, y dydd cyntaf hwnw o'r wythnos,' sef, y dydd y cyfododd Crist o'r bedd, 'lle 'r oedd y dysgyblion wedi ymgasglu rhag ofn yr Iuddewon, daeth yr Iesu, ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd wrthynt, Tangnefedd i chwi.' Fel pe dywedasai, y'mysg pethau ereill, yr ydwyf yn foddlon i chwi ymgynnull ar y dydd hwn. Trachefn, yn mhen wyth niwrnod, sef, wythnos o'r un dydd, ymgynnullasant wedi hyny; lle gwelwn eu bod yn de-

chreu ei arfer yn wythnosol. 'Safodd yr Iesu yn y canol,' drachefn, 'ac a ddywedodd, Tangnefedd i chwi.' adn. 26. Fel pe dywedasai, Yr ydwyf yn foddlon i'r arfer yma barhâu, sef, ymgynnull y'nghŷd y dydd cyntaf o'r wythnos. Ar y dydd cyntaf o'r wythnos, y tywalltwyd yr Yspryd Glân ar yr apostolion; y dydd cyntaf wedi y Sabbath oedd y Pentecost. 'Ac wedi dyfod dydd y Pentecost, yr oeddynt oll yn gytûn, yn yr un lle.' Act. ii. 1, 2. Lef. xxiii. 16. Wele, etto, brawf eu bod yn parhâu i ymgynnull ar y dydd cyntaf o'r wythnos,—'Ac yn ddisymmwth y daeth sŵn o'r nef, megis gwynt nerthol yn rhuthro, &c. A hwy a lanwyd oll o'r Yspryd Glân.'——Cyssegrodd yr Yspryd Glân, y dydd cyntaf, drwy dywalltiad rhyfedd iawn ar y bobl. Dwysbigwyd tair mil y boreu, fel blaen-ffrwyth o lwyddiant yr efengyl, ar y dydd cyntaf o'r wythnos. Ar y dydd cyntaf o'r wythnos yr oedd y dysgyblion yn dyfod y'nghŷd i dori bara. Act. xx. 7. Gan mai dyma 'r dydd oeddynt yn ei ddewis, i weinyddu 'r ordinhâd sanctaidd hon, dïammeu, mai 'r dydd hwn oeddynt yn ei gadw yn Sabbath. Ar y dydd cyntaf y byddent yn casglu i'r tlodion, 1 Cor. xvi. 2. gan hyny, y mae 'n amlwg, mai ar y dydd hwn y byddai eu cynnulleidfäoedd y'nghŷd.

Y mae 'n ddiddadl, mai y dydd cyntaf o'r wythnos y mae Iöan yn ei alw, 'Dydd yr Arglwydd.'—'Yr oeddwn yn yr Yspryd, ar ddydd yr Arglwydd.' Dat. i. 10. h. y. Yr oeddwn wedi fy llenwi âg Yspryd Duw, yn ei waith.—Y mae 'n cael ei alw dydd yr Arglwydd, i ddangos, fod hawl neilltuol gan yr Arglwydd Grist ynddo; megis y mae 'r ordinhâd hono, yn cael ei galw, swpper yr Arglwydd; neu, fel yr oedd y seithfed dydd yn cael ei alw, Sabbath yr Arglwydd.—Y mae 'n dra sicr, i Grist hyspysu i'w ddysgyblion, mai 'r dydd cyntaf o'r wythnos oedd i fod yn Sabbath iddynt. Dywedodd Crist i'w ddysgyblion, yn nghorph y deugain niwrnod y bu efe gyd â hwynt, wedi iddo adgyfodi o'r bedd, 'y pethau a berthynent i deyrnas Dduw.' Act. i. 3. Dïammeu iddo hyspysu iddynt lawer o bethau, am drefn yr eglwys, nad oes genym ni ond siampl yr apostolion am danynt;—ac y mae hyny yn ddigon.

Y mae 'n eglur, oddiwrth y pethau y ddywedwyd, fod y pedwerydd gorchymmyn, o ran ei sylwedd, yn foesol, ac yn ei rym, a'i fanylrwydd, y'mhob oes a chenedl—a bod y diwrnod wedi ei newid gan Grist, Arglwydd y Sabbath, o'r seithfed dydd, i'r dydd cyntaf o'r wythnos—ac nad oes awdurdod gan neb, i'w newid ef byth, mwyach—ac ni newid Duw ef mwy, o blegid nad oes un oruchwyliaeth arall i ddyfod byth.——Dyma 'r dyddiau diweddaf.

III. Mewn perthynas i sancteiddio y Sabbath.——Gan fod y gorchymmyn hwn yn orchymmyn moesol, a pharhâus, y mae 'Cofia y dydd Sabbath, i'w sancteiddio ef,' etto yn ei rym; ac yn dywedyd felly wrthym ni, cystal ag wrth yr Iuddewon gynt: am hyny, dylem ymofyn, yn fanwl, pa fodd y mae i ni ei sancteiddio ef: a pha beth sydd yn gynnwysedig mewn sancteiddio y Sabbath.

Sylwiwn, ar ddau beth; sef,

Yn gyntaf, Pa faint o amser y mae 'r gorchymmyn yn ei ofyn i ni i'w sancteiddio?

Yn ail, Pa faint o'r dyn, ai rhanau o hono, ai ynte yr holl ddyn, y mae 'r gorchymmyn yn ei ofyn at y gwaith o sancteiddio 'r Sabbath?

1. Am yr amser: *Y dydd*, nid rhan o hono, a ofynir. Wrth y dydd, y deallir yma, y seithfed ran o'n hamser; sef, pedair awr ar hugain. Nid o godiad haul hyd ei fachludiad ydyw; pe felly, ni byddai yn llawer o wledydd, ond dwy awr neu dair o Sabbath, dros amryw wythnosau, yn y gauaf: Ac, hefyd, ni byddai y Sabbath, gyd â ninnau, haner cy'd yn y gauaf a'r hâf. Heblaw hyny, nid yw dynion yn foddlon i fesur y chwe diwrnod felly: dïammeu, ynte, na ddylem ni ddim mesur dydd Duw, â mesur, yr hwn ni chymmerwn ar ein dyddiau ein hunain. Pa bryd y mae 'r amser yma yn dechreu, sydd mewn dadl gan rai: ond y mae y rhai mwyaf duwiol, a sobr, yn cydsynio mai haner y nos, nos Sadwrn y mae 'n dechreu; ac yn parhâu hyd haner y nos, nos Sabbath. Y mae hyn yn beth tra thebygol, yn wyneb y gair. 'Cyfododd Crist o'r bedd, a hi etto yn dywyll.' Marc xvi. 2. Ymddangosodd yn foreu i Mair. adn. 9. Hefyd, ymddangosodd yn hwyr i'w ddysgyblion. Iöan xx. 19.

Rhoddodd siampl, drwy hyn, i'w gadw yn sanctaidd, o foreu hyd hwyr. Yn Salm xcii. 2. Salm ar y dydd Sabbath, y dywedir, mai 'da mynegi y boreu am drugaredd Duw, a'i wirionedd y nosweithiau:'—treulio 'r dydd, foreu a nos, i gofio a mynegi am ei drugaredd a'i wirionedd ef, a'i holl waith. Dylem gymmeryd lleiaf, ag a allom o'r pedair awr ar hugain yma, i gysgu, bwyta, ymwisgo, y'nghyd â phethau ereill, llwyr angenrheidiol, yn yr amser. Ac, nid yn unig dylem ochelyd cymmeryd amser anghymmedrol i gysgu; ond, dylem, hefyd, sancteiddio y Sabbath tra byddom yn cysgu yr oriau hyny o hono; trwy fyned i gysgu â phethau addas i'r Sabbath ar ein meddyliau; a gweddio, ar i Dduw gadw ein meddyliau, hyd yn oed yn ein cwsg, yn yr agwedd sanctaidd hono; fel y gallom ddeffro yn brydlon y Sabbath, gyd â phethau addas i natur y dydd sanctaidd. Felly, am fwyta, ac yfed, a gwisgo. Dylem, nid yn unig ochelyd glythineb, meddwdod, a balchder; ond, dylem, hefyd, ochelyd treulio amser yn anghymmedrol, i arlwyo bwydydd, ymwisgo, &c. na bod yn achlysur i neb o'n teuluoedd i golli amser i addoli Duw, drwy borthi ein cnawd, a'n blys ni. Dylem, hefyd, astudio pa fodd i fwyta ac yfed, fel y bydd ein natur yn fwyaf effro a hwylus i addoli Duw. Dylem dreulio 'r holl ddydd, ond amser angenrheidiol anhepgorol at bethau natur, i addoli Duw yn ddirgel, yn deuluaidd, ac yn gyhoeddus; mewn sancteiddrwydd a pharch. Nid oes un awr o'r Sabbath yn sancteiddiach na'i gilydd; o blegid y dydd y mae Duw wedi ei bennodi yn y gair, ac nid rhyw oriau neilltuol o hono. Am hyny, y mae eglwys Rhufain i'w beio, am ei bod yn barnu, nad yw sancteiddrwydd y Sabbath yn parhâu, ond tra byddont hwy yn darllen y *Mass*. Ereill, hefyd, a gymmerant arnynt barchu 'r Sabbath, tra parhâo 'r addoliad yn rhyw fan, a phan elo 'r addoliad drosodd, y maent yn rhydd i'w dreulio i wledda, yfed, gwag-ymddiddan a chwedleua ofer, &c. Y mae y rhai hyny i'w beio, a'r sydd yn treulio oriau o'r Sabbath i gysgu, mwy nag y sydd angenrheidiol i'w nhatur; ïe, mwy nag y maent arferol o gysgu ddyddiau ereill. Felly y maent yn gwrthod mesur Duw, ac yn ail fesur ei ddydd sanctaidd ef, â'u llinyn cnawdol, pechadurus eu hunain.

2. Y mae 'r gorchymmyn yn gofyn yr holl ddyn, nid rhanau o'r dyn: 'Cofia *di*,' y dyn; nid cofia di y corph, neu, tydi yr enaid, ond, *tydi* y *dyn*, gorph ac enaid. Yr holl ddyn ydyw 'r gwrthddrych y mae cyfraith Duw yn ei ofyn: 'Câr yr Arglwydd dy Dduw, â'th *holl* galon, ac â'th *holl* enaid, ac â'th *holl* feddwl, ac â'th *holl* nerth.' Deut. vi. 5. Mat. xxii. 37. Gwelwn mai *holl* ydyw iaith y gyfraith, nid rhan. Felly, y gellir dywedyd yma, Cadw yn sanctaidd y dydd Sabbath, â'th *holl* galon, â'th *holl* enaid, â'th *holl* feddwl, ac â'th *holl* nerth; y dyn i gyd. Y mae 'n gofyn i'r holl ddyn ymattal oddiwrth y pethau gwaharddedig, a gwneuthur y pethau gofynedig. Y mae 'n gofyn yr holl enaid, y mae gwaith y corph, heb yr enaid, yn gnawdol a rhagrithiol.

1. Y Cof.—Rhaid peidio dal yn y côf orchwylion yr wythnos aeth heibio; a'r pethau a fwriadwyd at yr wythnos i ddyfod; nac ymddiddan ofer-wag a chwedlau a glybuwyd: ond cofio mai dydd Sabbath Duw ydyw, a chofio y dyben o hono: yn enwedig, cofio 'r gwaith a wnaeth Crist, ac a lwyr orphenodd; ac wedi ei orphen, a aeth i mewn i'w orphwysfa, foreu 'r trydydd dydd; yn ei orphwysfa ef, y mae sylfaen ein Sabbath ninnau:—Dyma le i enaid orphwys.

2. Y Deall.—Rhaid ei gadw â'r dëall: rhaid gadael heibio fyfyrio ar bethau bydol; peidio âg astudio a dychymmygu, pa fodd i ddwyn pethau daearol y'mlaen, amser i ddyfod. Ond, ar Dduw, yn wyneb Iesu Grist, ac ar ei feddwl yn ei air, ac ar ogoniant ei brïodoliaethau, fel y maent wedi ymddangos, yn Nghrist, o blaid ein hiechydwriaeth ni. Gweled mawredd gwaith, a dyfnder meddyliau Duw, nes y cyfodo syched ynom am eu dëall yn well. Salm xcii. 5.

3. Yr Ewyllys.—Rhaid ei gadw â'r ewyllys: 'Heb wneuthur dy ewyllys dy hun.' Esa. lviii. 13. Peidio â chymmeryd ein hewyllysiau cnawdol, llygredig, ein hunain, yn rheol mewn dim; ac ymdrechu i farweiddio llygredd ein hewyllysiau trwy 'r Yspryd. (Rhuf. viii. 13.) A chael ein hewyllysiau yn fwy unol âg ewyllys Duw; fel y gallem ddywedyd o'n calonau, 'Bydded dy ewyllys ar y ddaear:'—Ewyllysio a dymuno gogoneddu enw Duw, a llwyddiant ei efengyl, ac adeiladaeth ei eglwys:—Ewyll-

ysio ei fwynhâu yn ei waith, ar ei ddydd sanctaidd; fel, drwy hyny, y delom yn fwy tebyg iddo, a ffyddlon trosto yn y byd.

4. Y SERCHIADAU.—Rhaid cadw 'r Sabbath â'r serchiadau. Addoliad cythreulig yw addoliad heb y serch yn y gwaith. Y mae 'r cythreuliaid yn credu ac yn crynu, ond nid ydynt yn credu ac yn caru. Braint, a dyledswydd, ar y Sabbath yn enwedig, yw cael diddyfnu y serch oddiwrth y creadur, a'i hoeri at y byd, a'r pethau a welir; fel y gallom lawenychu yn fwy cyflawn y'ngwaith Duw. 'Llawenychaist fi, O Arglwydd, â'th weithred: y'ngwaith dy ddwylaw y gorfoleddaf.' Salm xcii. 4.——Llawenychu wrth fyfyrio arno yn ei waith yn crëu, ei waith yn cynnal, ac yn llywodraethu: Ond, yn enwedig, y'ngwaith y prynedigaeth drosom, a gwaith ei Yspryd ynom; fel y byddom yn galw 'r Sabbath yn hyfrydwch. Esa. lviii. 13. Fel y gwnelom yr holl ddyledswyddau, perthynol i'r Sabbath, gyd â hyfrydwch; oddi ar gariad tu ag at Dduw, a'i waith: ac nid oddi ar egwyddor ddeddfol, ac ofn caethiwus.

5. Y GYDWYBOD.—Rhaid bod y gydwybod mor effro, fel nad allo oddef i ni wneuthur dim croes i sancteiddio 'r Sabbath:—Ac, er hyn, yn ymorphwys yn dawel yn iawn Crist, a'i aberth digonol ef:—'Yr aberth difai i Dduw.' Heb. ix. 14. Fe weddai i'r gydwybod ymorphwys yn dawel yn hwn.——Bu dyddiau llafurus, poenus ar gydwybodau rhai, nes cael gafael ar yr aberth anfeidrol hwn; ond, yma, cafodd y gydwybod boenus, lluddiedig, a brawychus, Sabbath tawel.

Y mae 'n ofynedig bod y corph, hefyd, a'i holl aelodau, yn arfau cyfiawnder i Dduw, mewn modd neilltuol. Ei fod yn cael ei neilltuo, nid oddiwrth bethau pechadurus, yn unig, y mae hyny yn ddyledswydd bob dydd; ond, oddiwrth bethau bydol, hefyd, pethau cyfreithlon ddyddiau ereill.——1. Peidio edrych â'r Llygaid, ar wrthddrychau cnawdol a bydol—sy 'n tueddu i dynu 'r meddwl a'r myfyrdod oddiwrth bethau sanctaidd Duw.——2. Y Clustiau yr un modd, i beidio gwrando ymadroddion llygredig a bydol; neu gerddoriaeth gnawdol, yr hyn sydd yn llygru 'r enaid. Ond, rhoddi 'r clustiau i wrando gair Duw, ac ymddiddanion ysprydol a sanctaidd.——3. Y Tafod i beidio llefaru geiriau llygredig, daearol, a segur. 'Na dywedyd dy

eiriau dy hun.' Esa. lviii. 13. Peidio dywedyd dim geiriau perthynol i dy bleser cnawdol, na'th orchwyl bydol, na hanesion gwledydd, na chymmydogion, &c. Ond, neilltuo y dydd i ymddiddan am Dduw, a'i waith, darllen ei air, gweddïo arno, canu ei fawl, &c.——4. Y Traed a'r Dwylaw, drachefn. 'Troi dy droed oddiwrth y Sabbath.' Esa. lviii. 13. Troi oddiwrth bethau croes i sancteiddio 'r Sabbath, ac achlysuron i'w halogi. Na fydded iddynt dy gario i negesau bydol, na gwag-rodiena, na chwareyddiaethau ofer. Ond, bydded i ti eu defnyddio at waith Duw, i'th gario i foddion gras, ac i gynnulleidfäoedd y saint. Na fydded i dy ddwylaw, yr un modd, wneuthur dim naturiol, ond a fyddo yn gwbl angenrheidiol.——Na fydded i hyn chwaith fod yn faich, ond yn hyfrydwch, ac yn fraint fawr genym. 'Troi dy droed oddiwrth y Sabbath:' h. y. Troi gogwydd dy enaid, a dy serchiadau, oddiwrth bethau a'r sydd waharddedig ar y Sabbath: Fel y byddo rhedfa dy serchiadau yn naturiol at bethau sanctaidd, perthynol i'r dydd; ac y byddo yn hawdd i ti alw y Sabbath yn hyfrydwch, a'r holl ddyledswyddau perthynol iddo yn hyfrydwch hefyd.

Y mae, mewn sancteiddio 'r Sabbath, ddau beth;—1. Gorphwys oddiwrth waith daearol, cyffredin.—2. Gwneuthur gwaith sanctaidd, neilltuol: sef, addoli Duw, a'i wasanaethu ef, yn ol ei air, a'i drefn ei hun.

1. Na wna ynddo ddim gwaith, h. y. dim gwaith bydol, daearol, a ellir ei wneuthur cyn hyny, neu, a all aros heb ei wneuthur hyd ddydd arall. Ië, na wna ddim yr amser mwyaf prysur. 'Yn amser aredig, ac yn amser cynhauaf, y gorphwysi.' Exod. xxxiv. 21. Y mae gorchymmyn Duw yn fwy nag aredig, na medi, na dim cyffelyb. Nid ydyw ein hynnill drwy wneuthur rhywbeth, na'n colled drwy beidio â'i wneuthur; *ddim*, yn wyneb gorchymmyn y Duw mawr.—Ni bydd neb yn ei golled o gadw gorchymmynion Duw: Na neb, yn y diwedd, yn ynnillwr o'u tori.—'Heb wneuthur dy ffyrdd dy hun:' Esa. lviii. 13. h. y. Dy ffyrdd cyfreithlon i ti ddyddiau ereill; dy orchwylion, sydd genyt at dy fywioliaeth, y rhai y mae yn ddyledswydd i ti fod wrthynt y chwe diwrnod ereill:—Paid a gwneuthur hyny ar y

Sabbath. Y mae 'r pethau sydd yn ddyledswydd arnat eu gwneuthur ddyddiau ereill, yn bechod dirfawr i ti eu gwneuthur ar y Sabbath.—'Heb wneuthur dy ewyllys (neu, dy bleser) dy hun:' h. y. Rhyw ddyfyrwch cnawdol, megis cysgu—rhodiena—chwarëyddiaethau—gwledda—diota—-negesau bydol—-cyfeillach gnawdol—darllen, dywedyd, neu wrando hanesion gwladol:—y mae 'r pethau hyn oll, a'r cyffelyb, yn ddirmyg mawr ar ddydd yr Arglwydd.——'Na dywedyd dy eiriau dy hun,' y rhai sydd yn ddigon cyfreithlon i ti, amser arall, fel nad rhaid i ti ostwng dy ben o'u herwydd: ond y maent yn warth i ti ar ddydd yr Arglwydd. Nid llwon, a chelwydd, a geiriau segur, a feddylir yn benaf; o blegid, nid yw y rhai hyny eiriau cyfreithlon i ti un amser. Ond, heb ddywedyd y pethau sydd gyfreithlon i ti eu dywedyd ddyddiau ereill: ond neilltuo 'r dydd i ymdrin â geiriau Duw, ac i ymddiddan am dano ef.——Och! y mae 'n alarus meddwl am y drefn sydd ar eiriau llawer, ar y dydd Sabbath! Ië, hyd yn oed rhai dan enw Crist!——Gellid meddwl wrth eiriau llawer ar y Sabbath, nad yw y Sabbath yn werth sôn am dano: Ië, ac nad yw Crist chwaith, Arglwydd y Sabbath, yn werth són am dano yn eu plith. Geiriau gweigion, ac ymddiddanion bydol, sydd yn llenwi 'r gwledydd ar y Sabbath: ïe, yn fwy na dyddiau ereill.

Y mae 'r gorchymmyn, hefyd, yn gofyn i benau teuluoedd, gadw llywodraeth ar eu plant, a'u gwasanaeth-ddynion; ïe, a'r dieithriaid a fyddo yn eu tai: a defnyddio pob awdurdod, yn y lle y gosodwyd hwynt, i gael y rhai sydd dan eu llywodraeth i barchu Sabbath Duw. Och! y mae penau teuluoedd yn dra esgeulus o'r ddyledswydd hon! Ac y mae gwaed plant, a gwasanaeth-ddynion, wrth ddrysau llawer yn y peth hyn. Y mae llawer o benau teuluóedd yn eu tybied eu bod yn gwneuthur eu dyledswydd, os ânt eu hunain i foddion gras; er bod eu plant, a'u gwasanaeth-ddynion, yn rhyw le yn halogi 'r Sabbath: naill a'i mewn chwarëyddiaethau, neu yn segur gartref.——Dylem rybuddio ein teuluoedd am y perygl o halogi y Sabbath, a'u haunog, a'u cyfarfyddo i'w gadw yn sanctaidd: a'u ceryddu os halogant ef. Dylem, megis Abraham, orchymmyn i'n plant,

a'n tylwyth, ar gadw o honynt ffordd yr Arglwydd: Ei Sabbath ef yn enwedig, fel dydd neilltuol i rodio yn ei ffyrdd. Gen. xviii. 19. Ac, megis Josua gynt, 'Myfi a'm tylwyth a wasanaethwn yr Arglwydd.' Jos. xxiv. 15. Dylai penau teuluoedd, nid yn unig magu eu plant, 'yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd,' (Eph. vi. 4.) ond, hefyd, ymofyn am wasanaeth-ddynion a fyddo yn parchu gair Duw, a'i Sabbothau; neu, o leiaf, os na allant gael rhai a fyddo yn gweled yn fraint gael cadw 'r Sabbath, dylent eu cyflogi i gadw y Sabbath. h. y. Dywedyd wrthynt wrth gytuno â hwynt eu bod yn dysgwyl iddynt fyned i foddion gras ar y Sabbath, a pharchu y dydd, fel dydd Duw: ac y byddant yn dysgwyl ufudd-dod yn hyny, yn benaf, fel y mae yn beth yn perthyn i Dduw.

1. Nid yn unig gorphwys fel anifeiliaid a ddylid, ond, yn benaf, fel saint. Gorphwys drwy ymhyfrydu y'ngwaith Duw, a'i gyfeillach yn ei waith.——Neilltuo 'r holl ddydd at waith sanctaidd Duw, a'i addoliad ef. Addoli Duw â'r enaid a'r corph; yr holl ddydd—yn ddirgel, rhyngom ni a Duw—yn deuluaidd, gyd â'n teuluoedd—ac yn gyhoeddus, yn y gynnulleidfa. Dylem drefnu ein hamser, y Sabbath, fel na byddo y naill ran o'r addoliad yn rhwystro y rhan arall. Yr addoliad cyhoeddus ydyw prif waith y Sabbath: dydd pennodol i addoli Duw yn gymdeithasol ydyw. Etto, dylem ochelyd na byddo i ni golli addoliad teuluaidd, trwy gysgu yn ormodol y boreu, neu ryw annhrefn cyffelyb. Peth trwm yw fod ein teuluoedd heb addoliad parhâus i Dduw ynddynt, yn feunyddiol: yn enwedig ar y Sabbath. Dylem ochelyd cysgu hyd amser dyledswydd deuluaidd, fel na bydd amser genym i fyned at Dduw yn y dirgel, i geisio ei wyneb a'i gynnorthwyon yn ei waith.—Dylem ochelyd, yr ochr arall, na byddo i ni gymmeryd addoliad ddirgel, a theuluaidd, yn esgus i esgeuluso 'r addoliad cyhoeddus.—'Yr Arglwydd a gâr byrth Sïon, yn fwy na holl breswylfëydd Jacob.'

Agwedd dlawd i ddysgwyl bendith yn yr addoliad cyhoeddus, ydyw myned yno wedi esgeuluso addoliad dirgel a theuluaidd: treulio boreu Sabbath mewn cwsg, a segurdod, i dristâu 'r Yspryd Glân; ac, wedi hyny, myned i'r addoliad cyhoeddus i

ddysgwyl 'ei ymweliadau! Trachefn, peth ofer ydyw dysgwyl bendith ar ddarllen, &c. gartref, wrth esgeuluso 'r moddion cyhoeddus: ac, yn ddiau, nid rhai sychedig am fendith a all aros gartref, os gallant gyrhaedd i addoliad cyhoeddus. Y mae mawr eisiau cyfarwyddyd parhâus gan Yspryd Duw, yn hyn o'i waith:—Felly y gwaith sanctaidd y dylem fod wrth ein bodd ynddo, y Sabbath, ydyw darllen gair Duw, a myfyrio arno; nesâu at Dduw mewn gweddi, ddirgel, deuluaidd, a chyhoeddus:—Canu salmau a hymnau, ac odlau ysprydol:—Pregethu 'r gair, a'i wrando:—Gweinyddu y sacramentau, sef, bedydd a swper yr Arglwydd:—Cyfeillachu â'r duwiolion, mewn pethau ysprydol, perthynol i Dduw, ac enaid, a byd arall.——Rhai o'r pethau yma i fod yn achlysurol, ac nid bob Sabbath yn ddi ball, megis bedydd a swper yr Arglwydd. Ond, y mae gweddïo—myfyrio—darllen—pregethu—a gwrando 'r gair—canu mawl, &c. i fod fel y bara brwd gynt, ar y bwrdd bob Sabbath. Y mae esgeuluso y pethau hyn, yn tori y Sabbath, fel gwneuthur rhyw orchwyl â dwylaw. Y mae peidio gwneuthur y peth y mae 'r gorchymmyn yn ei ofyn yn bechod, fel gwneuthur y peth y mae yn ei wahardd.

Sylwiwn—1. Fod cadw 'r Sabbath yn beth o fawr bwys; a'i halogi yn bechod dirfawr yn erbyn Duw.——Y mae golwg wael, waradwyddus a dirywiedig, ar eglwys, a achos Duw, pan y mae 'r Sabbath yn cael ei esgeuluso: A phan y byddo Duw yn ymweled â'i eglwys, y mae diwygiad yn wastad yn y peth yma; sef, cadw 'r Sabbath yn sanctaidd. Y mae agwedd addoliad Duw, drwyddo, mewn eglwys, ac ardal, yn cyfatteb i'w dull hwynt yn cadw 'r Sabbath. O blegid, ni's gall fod agwedd flodeuog ar yr addoliad, os bydd yr amser a bennododd Duw, yn neilltuol, i'w addoli, yn cael ei ddirmygu a'i esgeuluso. Y mae 'r gair *cofia*, yn nechreu 'r gorchymmyn, y'mysg pethau ereill, yn dangos y mawr bwys o'i gadw 'n sanctaidd. Y mae 'r gair *cofia* yn cynnwys amryw bethau:—1. Cofia 'r hen orchymmyn a roddwyd yn Eden, ac a 'sgrifenwyd ar galon Adda.——2. Y mae 'r gair *cofia* yn dangos ein tueddiad ni i'w anghofio, a'i gam dreulio.——3. Y mawr bwys o'i gadw: fel pe buasai Duw yn

ddywedyd, *cofia* amser pennodol fy addoliad, fy nydd sanctaidd; os anghofi di 'r dydd hwn, ti a anghofi fy addoliad; ac os anghofi fy addoliad, ti a'm hangofi innau. Felly, y mae dibrisdod o'r Sabbath yn arwain i atheistiaeth.——Y mae cofia, hefyd, yn dangos y dylem ei gofio cyn iddo ddyfod, fel y gallom barottôi ar ei fedr; rhoddi pethau y chwe diwrnod mewn trefn, fel na byddo achos meddwl am danynt pan ddelo y Sabbath. Fe fydd parottôi mawr, pan fyddis yn dysgwyl rhyw wr mawr i ymweled â ni, a glanhâu hynod, a rhoddi pethau mewn trefn, cyn iddo ddyfod:—Gwr mawr yw 'r Sabbath—sanct yr Arglwydd ydyw—cennad y mae Duw yn ei anfon yn wythnosol attom i edrych pa barch a ddangoswn iddo; ac y mae Duw yn cyfrif ein hymddygiad at y Sabbath yn ymddygiad atto ef. Dywed Duw yn debyg i'r gair hwnw, Yn gymmaint na's gwnaethoch i'r rhai bychan hyn, ni's gwnaethoch i minnau. Gall ddywedyd am ei Sabbath, wrth ei halogwŷr, Yn gymmaint na's parchasoch fy Sabbath, ni's parchasoch finnau.

Sylwiwn—2. Fod tori 'r Sabbath yn bechod mawr yn erbyn Duw; ac, hefyd, yn tynu barnedigaethau trymion ar ddynion.——1. Dangosodd Duw ei anfoddlonrwydd yn fawr i'r pechod hwn, drwy orchymmyn rhoddi i farwolaeth y sawl a'i halogai drwy un rhyw waith; ïe, pe buasai waith y tabernacl. Exod, xxxi. 13, 17.——Llabyddiwyd y dyn a gafwyd yn casglu cynnyd ar y Sabbath: ïe, llabyddiwyd ef drwy orchymmyn pendant Duw. (gwel Num. xv. 32, 35.) Nid oedd dim dïaledd trymach yn cael ei roi am ladd a godinebu nag oedd am halogi 'r Sabbath. Er fod dull y gosp yn perthyn i'r ddeddf wladol oedd yn Israel, ac nid yw, mae 'n debyg, i'w harfer felly dan yr efengyl; etto, y mae drwg y pechod, ac anfoddlonrwydd Duw tu ag atto, yn ymddangos yn hynod yn y gosp hono.——2. Y mae tori 'r Sabbath yn tynu barnedigaethau trymion ar ddynion, ïe, ar wledydd cyfein. 'Os chwi ni wrendu arnaf, i sancteiddio y dydd Sabbath, heb ddwyn baich wrth ddyfod i byrth Jerusalem, ar y dydd Sabbath; yna mi a gynneuaf dân yn ei phyrth hi, ac a ysa ei phalasau, ac ni's diffoddir.' Jer. xvii. 27. 'Fy Sabbothau, hefyd, a halogasoch yn ddirfawr:—yna y dywedais

y tywalltwn fy llid arnynt.' Ezec. xx. 13. '' Yna y dwrdiais bendefigion Juda, ac y dywedais wrthynt, Pa beth drygionus yw hwn yr ydych chwi yn ei wneuthur, gan halogi 'r Sabbath? Onid fel hyn y gwnaeth eich tadau chwi? Ac oni ddug ein Duw ni yr holl ddrwg hyn arnom ni, ac ar y ddinas hon? A chwithau ydych yn chwanegu digofaint ar Israel, drwy halogi 'r Sabbath.' Neh. xiii. 17, 18. Sylwïwn, fod pendefigion i'w dwrdio am halogi 'r Sabbath, a goddef i ereill wneuthur hyny yn ddiwg; lle dylent ddefnyddio eu hawdurdod o blaid gorchymmynion Duw, ac yn erbyn ei ddirmygwŷr:—Och! Pa le mae 'r dyn?

2. Prophwydir am fendithion hynod i'r rhai a gadwai y Sabbath, dan yr oruchwyliaeth efengylaidd. (Esa. lvi. 4.) Addawir lle yn yr eglwys i'r dispaddedig a'r dieithr, y rhai a gadwant y Sabbothau. Addawir iddynt enw tragywyddol, a'i llawenychu hefyd yn yr eglwys. Dïammeu, fod y geiriau yn golygu 'r oruchwyliaeth newydd; o blegid nid oedd y dispaddedig yn cael lle i wneuthur dim yn yr eglwys Iuddewig: ond, y mae yma addewidion gwerthfawr iddynt. Bendithiodd Duw y dydd Sabbath, am hyny, y mae bendithion yn canlyn ei gadw yn barhâus; ac felly y byddant tra parhâo amser.

Sylwïodd y Barnwr Hale,* fod bendith yn dyfod o gadw dydd yr Arglwydd, medd efe, 'Yr ydwyf wedi dal manwl sylw, 'fod iawn sylwi ar ddyledswyddau dydd yr Arglwydd, â ben- 'dith yn eu canlyn, bob amser, ar y rhan arall o'm hamser. 'Yr wythnos a ddechreuwyf, gan iawn sylwi ar ddydd yr Ar- 'glwydd, sydd bob amser yn llwyddiannus, a bendithiol i mi; 'a'r ochr arall, pan fyddwyf yn esgeulus yn nyledswyddau 'y dydd hwn, y mae bob amser yn aflwyddiannus yn fy am- 'gylchiadau gwladol.'——Y neb a fendithio 'r Arglwydd bendigedig a fydd efe. Bendithiodd Duw y Sabbath, am hyny, y mae 'n sicr o fod yn fendith fawr, i bawb a'i cadwo.

Dylem gadw 'r Sabbath yn sanctaidd, ar amryw ystyriaethau, ac o blegid amryw resymau:

(1.) Dylem sancteiddio 'r Sabbath, o barch i'r Duw a'i trefnodd, ac a'i cadwodd gyntaf, ac a orchymmynodd i ni ei sanct-

* Late Lord Chief Justice of England.

eiddio ef. Dylem ei sancteiddio, o barch i Dduw, fel Pen-arglwydd ar amser, â hawl ganddo i'w ranu, fel y mynai; yn ol cynghor ei ewyllys ei hun. Wrth ranu amser yn ol ei gynghor, rhoddes Duw chwe diwrnod i ni, a chymmerodd un iddo ei hun. Gallasai, yn gyfiawn, gymmeryd chwech iddo ei hun, a rhoddi un i ni; ond, efe fu 'n dra haelionus i ni, yn hyn hefyd.——Yr ydym wrth halogi 'r Sabbath, yn codi yn erbyn Duw, Brenin y Brenhinoedd, ac yn erbyn ei lywodraeth ar amser. Yr ydym yn beio ar Dduw, yn ein hiaith, wrth halogi y Sabbath; ac yn dywedyd, ei fod wedi cam-ranu amser; fod y chwe diwrnod yn rhy fach i ni; ac un, sef, y seithfed, yn ormod i Dduw:—Och! A ydym ni, a'r byd, chwe gwaith gwell na Duw? Ai, am hyny, yr ydym yn ceisio lledrata rhan Duw, at ein rhanau ein hunain?

Rhai yn lledrata rhan, drwy aros yn hwyr nos Sadwrn, gyd â'u gorchwylion; a chymmeryd rhan o'r boreu Sabbath i gysgu yn lle hyny.—Ereill, drwy fyned i'w gwelyau yn gynnarach nos Sabbath, i gael codi yn foreuach dydd Llun.—Ereill, yn ddi-gywilydd, yn lledrata y cwbl; y dydd i gyd at wasanaeth byd, cnawd, a dïafol—yn debyg i'r gwr cyfoethog yn y ddammeg. (2 Sam. xii. 2, 4.) Yr hwn er fod ganddo lawer o ddefaid, a gwartheg; etto, pan ddaeth ymdeithydd atto, efe a arbedodd ei ddefaid ei hun, ac a arlwyodd i'r ymdeithydd, unig oenig y gwr tlawd; felly y mae llawer gyd â'r Sabbath, arbedant eu chwe diwrnod eu hunain, pan ddelo rhyw ymdeithydd—byd—cnawd—neu ddïafol heibio; ac a roddant iddynt ran o ddydd sanctaidd Duw.——Os daw cnawd i ofyn rhan o'u hamser i gysgu, diota, cyfeddach, rhodiena, &c. arbed llawer eu chwe diwrnod yn lled gymhedrol; ond, Och! hwy arlwyant, i'r ymdeithydd yma, unig ddydd sanctaidd Duw! Os daw diafol i ofyn rhyw orchwyl neilltuol gan ddynion, arbedant eu chwe diwrnod yn fynych; ond, Och! rhoddant ddydd sanctaidd Duw i'w waith halogedig ef!——Och, dyma 'r dydd y mae tafarndai lawnaf o loddestwŷr a meddwon yn ein teyrnas.——Och! ar y dydd sanctaidd hwn, y mae 'r meusydd lawnaf o segurwŷr, a'r tai lawnaf o chwedleua gwag ac ofer, mewn llawer ardal. Heb-

law hyn, os daw ein pennaethiaid i ofyn rhyw ran o'n hamser, fel arwydd o'n ffyddlondeb, a'n hufudd-dod iddynt, cais llawer arbed eu dyddiau eu hunain, a chymmeryd dydd sanctaidd Duw i hyny. Dymunwn i bawb yn ein teyrnas fod yn ufudd i'n huchafiaid a'n blaenoriaid, y'mhob peth, hyd y byddo 'n unol â gair Duw, yr hwn sydd uwchlaw pawb. Os gofynant ran o'n hamser, dylem yn ewyllysgar ei roddi iddynt, hyd yn oed amser bwyta a chysgu, os bydd raid. Ond, am y Sabbath, nid ein heuddo ni ydyw, i'w roddi i neb. Ni roddodd Duw mo'no i ni ond i'w sancteiddio; am hyny, ni ddylem ni ei roddi i neb; nac ychwaith ei dreulio mewn dim, ond sydd yn unol a'i gadw 'n sanctaidd. Nid oes dim gwaith naturiol yn gyfreithlon ar y Sabbath, ond pethau cwbl angenrheidiol at gynnal bywyd dyn ac anifail; nad oedd bosibl ei wneuthur yn gynt, nac ychwaith aros yn hwy heb ei wneuthur; megis rhoddi ymborth cwbl angenrheidiol i ddyn a'i anifail, eu hymgeleddu a'u gwared o gyfyngder—cadw tŷ rhag llosgi, a'r cyffelyb.——Gwrthwynebu gelynion, pe rhuthrent arnom. Ni ddylai hyny fod yn beth ysgafn gan neb chwaith. Dylem weddïo yn daer, yn barhâus, am i'r Arglwydd gadw ein gwlad, fel na chaffo estroniaid ei sathru; ond, pe gorfyddai arnom ymladd, neu ffoi, dylem weddïo na byddai hyny ar y Sabbath. 'Gweddïwch na byddo eich fföedigaeth ar y Sabbath.' Mat. xxiv. 20. Dywedodd Crist y geiriau wrth ei ddysgyblion am y Sabbath efengylaidd; o blegid efe a wyddai mai 'r dydd cyntaf o'r wythnos fyddai eu Sabbath hwynt, amser dinystr Jerusalem. Os dylem weddïo na byddo raid i ni ffoi ar y Sabbath, dïammeu, na ddylem ddysgu rhyfel ar y Sabbath; yn enwedig, os byddwn ryw ddiwrnod o'r saith, heb fod yn dysgu, dïammeu, mai 'r Sabbath y dylai hwnw fod. Mae 'n ofer dadleu fod yn anhawdd i'r bobl roddi eu hamser ddyddiau ereill, o blegid y mae genym ni chwe diwrnod gyd â'n sefyllfäoedd; ond nid oes genym ond un Sabbath i'w dreulio gyd â gwaith ein Duw. Heblaw hyn, y mae bendith Duw, ar ychydig amser, yn ddigonol i'w wneuthur yn well i ni na llawer dan ei ŵg a'i felldith.

3. Yr ydym, wrth dori 'r Sabbath, yn codi yn erbyn llywod-

raeth Duw arnom ein hunain, ac yn dywedyd yn ein hiaith, Ni fynwn ni y Duw hwnw, sydd yn gofyn dydd o saith i'w dreulio yn sanctaidd iddo, ac yn ei waith. Gwell genym ni fyd, cnawd, a dïafol, sydd yn gorchymmyn i ni dreulio y Sabbath ar ein melys-chwant, ac yn wrthryfelgar yn erbyn Duw.

4. Nid yw ond peth bychan cadw dydd o saith, o barch i Dduw, fel Creawdwr, wrth fwynhâu ei greaduriaid:—gwelwn ein Creawdwr ynddynt.

(2.) Dylem, yn benaf, gadw 'r Sabbath o barch i'r Mab, yr hwn a gyfododd o'r bedd y dydd cyntaf o'r wythnos, wedi llwyr orphen holl waith prynedigaeth. 'Hwn,' sef, Crist, 'a orphwysodd oddiwrth ei weithredoedd ei hun, megis y gwnaeth Duw oddiwrth yr eiddo yntau.' Heb. iv. 10.——Y Mab yn gorphwys oddiwrth ei waith yn prynu, fel y Tad oddiwrth ei waith yn crëu. Am fod gwaith y prynedigaeth yn fwy, a rhyfeddach, na'r gwaith o grëu bydoedd, yr oedd yn weddus newid y diwrnod, i gofio 'r gwaith yma yn hytrach. Onid yw y gwaith gogoneddus a wnaeth ein Crist bendigedig, a'r fuddugoliaeth ryfedd a ynnillodd, ac a amlygwyd foreu 'r trydydd dydd, yn werth cadw un dydd yn sanctaidd, yn goffadwriaeth ddïolchgar am hyny, tra byddo amser yn bod? A ydyw cnawdoliaeth y gair tragywyddol, ei waith yn cymmeryd ein natur, ac yn myned i'n deddf le, dan gyfrifiad o'n pechodau, a than ein melldith a'n cosp; ïe, ac wedi gorchfygu ein gelynion, a llwyr dalu ein dyled; a chyfodi yn fuddugoliaethus foreu 'r trydydd dydd; A ydyw hyn, meddaf, mor ddiwerth yn eich golwg, fel na thal mo'i gofio? Och, y mae anystyriaeth ac anniolchgarwch dyn, yn fawr iawn!!——Os oedd crëedigaeth y byd, a'r waredigaeth o'r Aipht, yn destynau cadw 'r Sabbath yn sanctaidd a manwl, pa faint mwy gwaith ydyw gwaith iachawdwriaeth? yr hwn a lwyr orphenodd Crist, ac a orphwysodd wedi ei orphen foreu 'r trydydd dydd! Onid yw gwaith a gorphwysiad Crist yn ddigon i'r meddwl a'r myfyrdod gartrefu ynddynt, a threiddio iddynt, gyd â difyrwch, yr holl Sabbath? Ac onid ydyw y gwaith gogoneddus yma yn ddigon i ymddiddan am dano, gyd â blas, tra parhâo y dydd sanctaidd hwn? Y mae 'n ddirmyg mawr ar Grist,

a gwaith y prynedigaeth, i ni dybied fod y Sabbath, yr hwn sydd i ni gofio ei waith a'i orphwysiad ef, i'w gadw yn fwy penrydd a chnawdol nâ 'r Sabbath oedd i gofio 'r waredigaeth o'r Aipht, ac yn wystl o'r orphwysfa y'Nghanaan. Onid yw y waredigaeth oddiwrth felldith y ddeddf, ac oddi dan lywodraeth dïafol a phechod, yn waredigaeth mwy rhyfeddol, ac yn haeddu ei chofio yn sanctaidd a pharchus, mewn hyfrydwch calon yn y gwaith.

(3.) Dylem gadw 'r Sabbath yn sanctaidd, o barch i'r Yspryd Glân, yr hwn a ddisgynodd ar ddydd y Pentecost, mewn dull rhyfedd, i wneuthur gwaith rhagorol iawn. Y dydd cyntaf o *amser*, y trefnodd efe y grëedigaeth: Gen. i. 2. Ond y dydd cyntaf o'r *wythnos*, y disgynodd i wneuthur gwaith mwy gogoneddus; sef, trefnu y grëedigaeth newydd, Eglwys y Testament Newydd.—Fe fydd y grëedigaeth ogoneddus hon, yn ei dysgleirdeb a'i gogoniant, wedi i'r byd fyned ar dân. Yn y greedigaeth gyntaf, Efe a wnaeth greaduriaid hardd, o'r defnyddiau cymmysg, *(caos)* ond, yn y grëedigaeth newydd, y mae yn gwneuthur gwaith harddach, o ddefnyddiau pechadurus, a llawer mwy didrefn na'r *caos* gynt! Ar y Sabbath, yn benaf, y mae efe etto yn dwyn ei waith gogoneddus y'mlaen, er nad ydyw yn ei adael heibio ddyddiau ereill. Y mae efe yn parhâu i argyhoeddi, i ail eni, dysgu, arwain, magu, ac ymgeleddu miloedd etto, yn neilltuol y dydd hwn; am hyny dylem gadw y Sabbath o barch iddo, ac i ddysgwyl wrtho am ei ymgeledd a'i driniaeth i'n hysprydoedd yn ei waith. Pa fodd y dysgwylir ymgeledd yr Yspryd Glân, yn moddion gras, ar y dydd Sabbath, tra byddom yn treulio y rhanau ereill o'r dydd i'w dristâu? Y mae llawer yn treulio oriau o'r boreu Sabbath i gysgu, segura, &c. trwy 'r hyn y maent yn tristâu 'r Yspryd Glân. Ac yna, pa ryfeddod eu bod yn ymddifeid o ymweliadau 'r Yspryd yn moddion gras? Felly, hefyd, y mae llawer yn treulio 'r amser rhwng odfäon cyhoeddus, i wag ymddiddanion, geiriau ofer pechadurus, a thrwy hyny, yn gollwng i golli yr hyn a derbyniasant yn y moddion aeth heibio; ac yn eu hanaddasu eu hunain at moddion sydd i ddyfod. O'r golled fawr y mae cannoedd o

broffeswŷr yn gael drwy hyn.——Felly, gwelwn fod halogwŷr y Sabbath yn dirmygu y DRINDOD.

(4.) Dylem gadw 'r Sabbath yn sanctaidd, yn arwydd fod gorphwysfa enaid yn yr Arglwydd: ac nad oes gorphwysfa yn un man arall. 'Dychwel o fy enaid i'th orphwysfa; canys yr Arglwydd a fu dda wrthyt.' Salm cxvi. 7. Collasom ein gorphwysfa yn Nuw drwy 'r cwymp: callasom ei heddwch; ei gyfeillach; mwynhâd o hono; ac ymfoddlonrwydd ynddo. Llanwyd ni âg euogrwydd ac ofn drwg; ac aethom i chwilio am orphwysfa mewn pethau ereill:—ond er chwilio nid oedd un i'w chael. Ond, o anfeidrol ras ynnillwyd yr orphwysfa yn ol i ni gan Grist: ac y mae efe yn gwahodd y rhai blinderog, a llwythog i gael gorphwysdra, yn ei orphwysfa ef. 'Deuwch attaf fi, bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog——a chwi a gewch orphwysfa i'ch eneidiau.' Mat. xi. 28, 29. Dyma 'r unig le i enaid llwythog gan euogrwydd i roddi ei faich i lawr: dyma noddfa i'r ffoadur, sydd ar ddarfod am dano, o flaen y dïalydd, i gael ymguddio a gorphwys, yn y gwr a dalodd y dyled, ac a lonyddodd gyfiawnder dïaleddol yn llawn. Y'Nghrist, hefyd, y cawn ein hanadl, oddiwrth derfysg ein gelynion tufewnol; ein llesgedd a'n pla dirfawr, sydd yn ein trallodi yn barhâus, ddydd a nos. Ond, yr ydym yn cael graddau o orphwysfa oddiwrth orthrymder y rhai'n, rai munudau y'nghyfeillach Crist:—Dylem gadw 'r Sabbath, yn barchus, i gofio hyn.

(5.) Y mae 'r Sabbath yn wystl o'r orphwysfa berffaith a gaiff y saint tu draw i'r bedd. Dydd neilltuol i ddiddyfnu enaid oddi wrth y byd, a'r pethau gwelcdig; drwy roddi blas i'r enaid, yn moddion gras, ar bethau ysprydol a nefol. Drwy neilltuo, raddau, o dwrf y byd a'r creaduriaid, at bethau Duw, yr oerir graddau ar y serch at y pethau gweledig; a thrwy dynu un dydd o saith oddiwrthynt, at bethau ysprydol a nefol. Dydd neilltuol yw hwn i gyfeillachu â Duw yn moddion gras; ac i adael pob creadur, mewn gradd, i fwynhâu Duw yn y Cyfryngwr. Ac, yn ei gymdeithas felys, fendigedig ef, nid anhawdd ydyw galw 'r Sabbath yn hyfrydwch, a sanct yr Arglwydd yn ogoneddus. Dyma 'r dydd yr ydym yn derbyn grawnsypiau

Canaan," yn yr anialwch; i aros amser Duw i fyned drwy'r Iorddonen i'w mwynhâu yn gyflawn. Ac, yn wir, y mae eu blas peraidd yn peri i ni riddfan, a hiraethu, am fyned i'r wlad lle cawn ymborthi arnynt byth, heb elyn i'n terfysgu! Y mae dyfodfa 'r Sabbath, i mewn, fel *Jubili* i eneidiau llwythog a blinderog plant Duw. Y mae yn orfoledd ganddynt gael Sabbath yma, er nad ydynt yn gallu ei gadw yn berffaith; nac yn ei gael ond dros ychydig; etto llawen ganddynt ei gael, i aros Sabbath perffaith, tragywyddol, gyd â Duw, ar ei ddelw; yn ei gyfeillach; tu draw i'r bedd. Ond y mae diwedd y Sabbath yn eu llenwi â galar drachefn; o blegid eu bod yn gorfod troi yn ol, wedi dyfod agos i olwg Canaan, i deithio 'r anialwch dyrys drachefn, lle mae seirph tanllyd yn parhâu i'w dilyn. Etto, y maent yn ymgysuro wrth feddwl am y Sabbath sydd yn dyfod, cyn bo hir, heb ddiwedd iddo byth: pan y cânt adael eu gelynion, eu lludded, eu trallod, a'u gofidiau oll, o'u hol am byth; a mwynhâu Duw y'Nghrist, heb len na chwmwl i'w guddio oddi wrthynt i dragywyddoldeb.

## CASGLIAD.

Gan fod y Sabbath i'w gadw yn sanctaidd, yn ol gorchymmyn moesol, y mae dydd o saith i'w neilltuo oddiwrth bob gwaith, yn hollol i addoli Duw, dan bob goruchwyliaeth. Er fod rhyw beth yn wahanol yn eu dull yn cadw y Sabbath, dan bob goruchwyliaeth, yn gyfattebol i'r oruchwyliaeth y byddent dani. Etto, yr oedd hyn yn ei rym dan bob goruchwyliaeth, sef, cadw un dydd o bob saith yn sanctaidd, a neilltuol i addoli Duw, a'i wasanaethu yn barchus. Yn ganlynol, gwelwn hefyd fod ein gwaith yn halogi 'r Sabbath, yn droseddiad o orchymmyn moesol; ac nad oes bosibl ei faddeu, ond drwy iawn Crist. Ond fe gadwodd Crist y gorchymmyn yn berffaith, ac a ddyoddefodd y felldith oedd ddyledus i ni am ei dori ef, yn nghŷd â'r gorchymmynion ereill, ac a roddes iawn perffaith i gyfiawnder dros y troseddiadau yn ei erbyn:—Ac y mae 'r Yspryd Glân yn ysgrifenu y gorchymmyn hwn ar galonau y saint, gan eu cydffurfio âg ef.

## DEFNYDDIAU.

DEFNYDD O GERYDD.——1. I'r rhai sydd yn meddwl, fod y Sabbath wedi ei ddiddymu, dan yr oruchwyliaeth efengylaidd. Y mae Duw yn wrthddrych teilwng o'i addoli yn barhâus: am hyny, dylem neilltuo amser i'w addoli, yn neilltuol, parchus a sanctaidd. (2.) Y mae 'r waredigaeth drwy Grist, yn anfeidrol fwy rhyfedd na'r waredigaeth o'r Aipht: Am hyny, y dylem gadw 'r Sabbath mor fanwl a sanctaidd i gofio 'r waredigaeth hon: ïe, a dibrisdod mawr ar Grist, a gwaith iachawdwriaeth, ydyw treulio 'r Sabbath yn ddiofal, segur, ac esgeulus.

2. Cerydd i'r rhai sydd yn treulio 'r Sabbath gyd â'u gorchwylion cyffredinol, dan ryw liw o angenrheidrwydd; gan olygu elw, parch, neu bleser, yn fwy na gair a gorchymmyn sanctaidd Duw.

3. Cerydd i'r rhai sydd yn treulio rhan fawr o'r dydd sanctaidd hwn, mewn cwsg a segurdod; gan gymmeryd y Sabbath yn orphwysfa anifeiliaid, yn hytrach na gorphwysfa Crist'nogion.

4. Cerydd i'r rhai sydd yn esgeuluso moddion gras, dan y lliw o aros gartref i ddarllen, a llywodraethu y teulu, &c. Nid oes dim lle i ddysgwyl am gymhorth i ddarllen na gweddïo gartref, tra 'r esgeulusir moddion gras yn gyhoeddus.

5. Y mae y rhai hyny y deilwng o gerydd, sydd, er eu bod yn gadael eu gorchwylion heibio, a myned i foddion gras hefyd, etto yn ymollwng i ymddiddanion anaddas i'r Sabbath; a thrwy hyny, yn eu gwneuthur eu hunain, ac ereill, yn amddifeid o'r budd a ellid gael y'ngwaith y Sabbath:—ac yn lledratta gogoniant Duw hefyd.

6. Y mae 'r rhai hyny yn deilwng o gerydd, yn treulio 'r Sabbath, yn fwy nâ dyddiau ereill, y'ngwaith y diafol; mewn chwarëyddiaethau, diota, meddwdod, glythineb, &c. &c. fel pe byddent yn dirmygu y Duw a orchymmynodd ei sancteiddio; ac i ddirmygu y Crist a gyfododd foreu 'r trydydd dydd; y gwaith gogoneddus a wnaeth efe; y'nghŷd â'r orphwysfa a gafodd wedi gorphen ei waith.

7. Y mae 'r rhai hyny yn deilwng o gerydd hefyd, sydd yn cadw 'r Sabbath yn unig oddiar egwyddor ddeddfol, ac er mwyn cael eu gweled gan ddynion; ac nid o ufudd-dod i orchymmyn Duw, nac oddiar un rhyw hyfrydwch y maent yn gael yn y gwaith. Nid allant alw 'r Sabbath yn hyfrydwch; yn hytrach eu baich ydyw; a'u llais dirgel ydyw, 'Pa bryd yr â 'r Sabbath heibio?' Er ymgadw oddiwrth eu gorchwylion, ac oddiwrth ymddiddanion anaddas, &c. a gwneuthur dyledswyddau lawer, etto, nid hyfrydwch eu heneid yw.——Os ydyw dydd o saith yn ormod genyt y'ngwasanaeth neilltuol Duw, Pa fodd y byddi fyw byth yn y nefoedd, lle nad oes ond cadw Sabbath tragywyddol didor i Dduw?

8. Y mae y rhai hyny yn deilwng o gerydd, sydd a'u sefyllfaoedd sydd yn eu caethiwo ar y Sabbath, ac yn eu hymddifadu o foddion gras; ac yn eu rhwymo wrth bethau anaddas i natur y Sabbath. Dylent wneuthur pob ymdrech i'w newid.

Defnydd o Gyfarwyddyd.——1. Gweddïa am gymhorth i barchu holl orchymmynion Duw, fel eu gilydd; fel y gallech ddywedyd gyd â Dafydd, 'Ni-'m gwaradwyddid pan edrychwn ar dy holl orchymmynion.'

2. Bydded hyfryd gan dy enaid gofio gwaith a gorchwyl Crist, fel y byddo 'r Sabbath yn hyfrydwch genyt: a'r gwaith perthynol iddo yn felys gan dy yspryd. Bydded gwaith gogoneddus y prynedigaeth yn fatter genyt i feddwl, myfyrio, ac ymddiddan am dano, tra parhâo y dydd sanctaidd hwn.

3. Bydded y ddaear, a'r pethau perthynol iddi, mor ddieithr a gwrthwynebol i'th yspryd, fel y byddo melys genyt gael dydd o saith i dynu o'u swn a'u twrf, at bethau Duw yn unig.

4. Cofia y dydd Sabbath cyn iddo ddyfod; fel y gallech roddi dy holl orchwylion bydol mewn trefn, y'nghorph y chwe diwrnod, fel na byddo achlysur i ti ymddyrysu gyd â hwynt ar ddydd sanctaidd Duw.

5. Llef am gynnorthwyon yr Yspryd Glân yn y gwaith o sancteiddio y Sabbath, i 'sgrifenu y gorchymmyn ar dy galon, ac i'th arwain i bethau perthynol i'w sancteiddio; ac i dywallt bendithion helaeth ar foddion gras,

Defnydd o Gysur, i'r saint blinedig, sydd dan orthrymderau gelynion, byd, cnawd a diafol, yn griddfan ddydd a nos, yn yr anialwch dyrys.

1. Y mae 'r Sabbath anmherffaith, ydwyt yn gael yma, yn lloni dy enaid helbulus yn fynych. Ond, nid yw y Sabbath hwn ond ernes o'r Sabbath tragywyddol sydd yn aros tu draw i'r bedd;-lle caiff y blinedig orphwys yn dawel byth. Gorphwys gyd â Duw, mewn mwynhâd o hono, ac ar ei ddelw; heb ddiafol, na byd, na chalon lygredig i'th flino, na'th aflonyddu mwy.

2. Er dy fod yn gofidio, yn bresenol, oblegid bod y Sabbath yn darfod, wedi i ti gael blas neillduol ar waith, a chyfeillach, dy Dduw ynddo; y mae Sabbath yn dyfod, na bydd diwedd iddo byth. Gan hyny, bydd ddïolchgar am Sabbath dros ychydig oriau, weithiau, i aros y Sabbath tragywyddol sydd gerllaw:——Dysgwyl yn ddystaw, hyd nes y delo y Sabbath hyfryd hwn.



*D. S.*—Wrth briodoli (tu dal. 39.) y geiriau yn Heb. iv. 10. i'r Arglwydd Iesu, ac nid i'w bobl, yr ydwyf yn cydnabod fy mod yn gwahaniaethu yn fy ngolygiad arnynt, oddiwrth amryw awdwŷr enwog. Y mae fy ngolygiad arnynt yn gwbl gytûn âg esponiad rhagorol y diweinydd enwog, a dysgedig hwnw, Dr. J. Owen. Cefais hollol foddlonrwydd am gywirdeb ei olygiad, yn y rhesymau goleu, a chadarn a rydd yno o blaid ei esponiad arnynt. Tybiais yn addas i wneuthur y sylwiad hwn, rhag i neb gael achlysur i feddwl fy mod yn rhyfygus yn dilyn fy marn fy hun, gyd â diystyrwch o farnau rhai ereill, llawer mwy eu dysg, a'u dawn, a'u goleuni ysprydol, ac sydd genyf barch dyladwy iddynt.

*Gellir enwi llawer o Farnedigaethau Duw, a ddisgynasant ar Ddinasoedd, a Phersonau neilltuol, hyd yn oed y'Mrydain, o herwydd halogi 'r Sabbath.*

AR y Sabbath y llosgwyd Jerusalem gan y Rhufeiniaid; gwnaed hyn, medd Hegissippus a Dio, ar Sabbath yn mis MEDI, y'nghylch 40 mlynedd wedi marwolaeth Crist.

Yr oedd y pechod o dori 'r Sabbath yn llywodraethu yn gryf iawn yn Llundain; cospwyd hwy â thân rhyfedd a dychrynllyd; yr hwn a dorodd allan ar y Sabbath, MEDI 2, yn y flwyddyn 1666, ac a losgodd y rhan fwyaf o'r dref yn ulw:—ei hadeiladu teg, a'i heglwysydd mawrion hyd lawr.

Y mae Dr. Beard yn dywedyd am dref Teverton, yn Sir Devon, ei bod wedi cael ei rhybuddio yn fynych, gan weinidogion duwiol oedd yno, y dygai Duw ryw farn drom arnynt am halogi 'r Sabbath. Yr oeddynt yn cymmeryd achlysur i'w halogi, drwy barotôi at y farchnad oeddynt yn gynnal ddydd Llun.——Yn fuan ar ol marwolaeth y gweinidog duwiol, ar y 3dd o Ebrill, 1598, anfonodd Duw dân dychrynllyd yno, yr hwn a'i hysodd, mewn llai na haner awr, oddieithr yr eglwys a'r elusendai, a thŷ 'r cwrt; y'nghŷd â ychydig o dai pobl dlodion.——Gallasid gweled yno bedwar cant o dai, ar dân, ar unwaith; yn myned yn ulw yn y fflamau:—yswyd tros 50 ddynion yn y fflamau.——Ond, er hyn oll, ni chymmerodd y gweddill rybudd; eithr parhâusant yn yr un pechod:—Aeth y dref ar dân drachefn, AWST y 5ed, 1612, (bedair blynedd ar ddeg ar ol y tro cyntaf) llosgwyd y cwbl oddieithr ychydig o dai tlodion.*

Y mae Dr. Twiss yn dywedyd am dro rhyfedd a fu yn Sir

* Vid. Dr. Beard's Theatre of God's Judgments.

Bedford. Yr oedd ymdrech-gamp i chwareu 'r bel droed wedi ei llunio i fod ar brydnawn ddydd Sabbath; tra 'r oedd dau, o flaenion y gamp, yn y clochdŷ, yn canu 'r gloch i alw 'r lleill y'nghŷd. Clybuwyd swn taran, yn ddisymmwth, gwelwyd, gan y rhai oedd yn eistedd yn mhorth yr eglwys, mellten yn dyfod drwy hwylfa dywyll, ac yn fflamio yn eu wynebau; yr hyn a'u dychrynodd yn fawr. Aeth drwy 'r porth i'r clochdŷ—cododd sodlau, yr hwn oedd yn canu 'r gloch, ac a'i tarawodd ef yn farw yn y fan. Cafodd y llall ergyd ganddi, nes ei friwo yn dost:—bu yntau, hefyd, farw yn fuan.*

Gweinidog duwiol yn Burton ar Trent, a fyddai 'n mynych arfer bygwth, ac yn ceisio argyhoeddi, torwŷr Sabbothau; yn enwedig, y rhai a fyddai yn gwerthu ac yn prynu cig foreuau Sabbothau, yr hyn oedd arfer rhy gyffredin yn y lle hwnw. Er maint a fyddai 'r gweinidog duwiol a llafurus, yn gynghori ac yn ei fygwth arnynt, etto, parhâu yr oeddynt yn gyndyn ac anmhlygedig. Yr oedd un teiliwr yn byw yn y cwr uchaf i'r dref, yr hwn a fynai fyned ar hyd heol hir, o'r naill ben i'r llall, megis mewn ffordd o ymffrost, i geisio cig bob boreu Sabbath: —ond, fel yr oedd yn dychwelyd adref, â'i ddwylaw yn llawn, y'nghanol yr heol, fe syrthiodd i lawr yn farw. Gweithiwyd dychryn y'mysg y cigyddion, ac ereill, drwy hyny.

Y mae Mr. Clark yn crybwyll am weinidog duwiol, oedd un Sabbath, yn ei bregeth, yn gwasgu yn wresog ar y bobl yn nghylch sancteiddio 'r Sabbath: Ac, y'nghorph y bregeth, cymmerodd achlysur i grybwyll am y dyn, yr hwn, drwy orchymmyn neilltuol Duw, a labyddiwyd i farwolaeth am gasglu briwwydd ar y Sabbath. Ar hyn, dyn drygionus, oedd yn y gynnulleidfa, a chwarddodd, ïe, ac a aeth allan gyd â brys; ac efe a aeth i gasglu briw-wydd; er nad oedd arno ddim eu heisiau. Ond, pan ddaeth y bobl o'r bregeth, hwy a'i cawsant ef ar y ffordd, yn gwbl farw; â choflaid o friw-wydd yn ei freichiau:† —Arwydd neilltuol o farn Duw!!!

* Dr. Twiss on the Sabbath. † Clark's Examples.

Un Thomas Sarage, gwr ieuangc a ddihenyddiwyd, Hydref 28, 1668, yn Ratcliff, am ladd ei gyd-was: tra 'r oedd efe yn y carchar, llefodd yn fynych, wrth y rhai oedd yn dyfod i ymweled âg ef, yn y dull canlynol:—O, mor druenus oeddwn I! Yr oeddwn yn astudio, pa fodd y treuliwn ddydd yr Arglwydd yn ngwaith y diafol! Yr amser y dylaswn fod y'ngwaith Duw, yr oeddwn I brysuraf y'ngwaith y diafol: yr oeddwn yn llawen wrth weled y Sabbath yn dyfod, i gael cyfle i ddilyn fy chwantau a'm pechodau. Byddwn weithiau yn myned i'r eglwys, ond ni byddwn un amser yn aros i wrando 'r holl bregeth —byddwn yn chwerthin am benau y rhai fyddai yn treulio 'r Sabbothau i ddarllen a gwrando; ac yn edrych arnynt y ffyliaid penaf yn y byd.——O, dywedwch i ddynion ieueingc, oddi wrthyf fi, fod tori 'r Sabbath yn bechod peryglus a drud.




Cambrian Press, Bala, gan R. Saunderson.

# TALFYRIAD

O

# Hanes Mr. Kicherer,

GWEINIDOG YR EFENGYL,

AM

EI LAFUR, EI BERYGLON, A'I LWYDDIANT

YN MYSG Y

## BOSCHEMEN,

UN O'R LLWYTHAU TYWYLLAF A MWYAF ANIFEILAIDD

O'R

HOTTENTOTS, YN NEHEUDIR AFFRICA:

HEFYD,

*Byr-Hanesion am Lafur Amryw Ereill,*

YN MYSG

## PAGANIAID;

HOLIADAU AC ATTEBION TRI O'R BOSCHEMEN,

A DDYCHWELWYD I'R FFYDD, &c. &c.

---

BALA,

ARGRAFFWYD YN ARGRAFFDY JONES & CO.

—0—

1804.

# Rhagymadrodd.

Y MAE 'r Gymdeithas Genhadawl (*Missionary Society*) a ffurfiwyd yn Llundain, yn y flwyddyn 1795, wedi cael y fraint o fod yn offerynol i anfon sain Efengyl Crist i amryw barthau pellenig, oedd o'r blaen yn gwbl ddyeithr iddi: Yn ynysoedd y Môr Deheuol, yn enwedig, Otaheite, y mae amryw weinidogion ffyddlon ac ymroddgar yn parhâu i lafurio, fel "y llafurwr, "yn dysgwyl am werthfawr ffrwyth y ddaear, yn dda "ei amynedd am dano, nes iddo dderbyn y gwlaw cyn-"nar a diweddar." Hyderwn, "yn ei iawn bryd y medant, oni ddiffygiant."

Yn mysg y Caffres, yr Hottentots, ac amryw ereill o lwythau diddysg Affrica, y mae y Dr. Vanderkemp, ac amryw Genhadau ereill, heblaw Mr. Kicherer, wedi llafurio, ac yn parhâu yn y gwaith yn llwyddiannus mewn amrafael fanau. Ond hyn o Draethawd sydd, yn benaf, y'nghylch llafur a llwyddiant Mr. Kicherer; ac allan o adroddiad a 'sgrifenodd efe ei hun.

Yr oedd Pen mawr yr eglwys ar waith yn parottôi, er's llawer blwyddyn, y gwr hwn i'r gorchwyl anrhydeddus ac arbenig y mae efe ynddo. Pan yn fachgenyn

ieuangc, yn darllen am Fôr-deithiau y Cadpen Cook, y dychymmyg caruaidd am oleuo 'r Cenhedloedd tywyll a fynnodd le mawr yn ei feddwl a'i awyddfryd: Yr oedd ei enaid yn ennynu mewn dymuniad am ddwyn goleuni yr efengyl ogoneddus i blith trueiniaid "tir a chysgod angau." Ond pa fodd y cyflawnid ei ddymuniad ni's medrai efe ddychymmygu mewn un modd. Ni wyddai efe am neb o'r un meddwl ag ef ei hun ar wyneb y ddaear. Er hynny, y Duw, yr hwn, yn ddïammau, "a'i neillduodd ef o groth ei fam" i'r gwaith apostolaidd hwn, a gadwodd y wreichionen sanctaidd yn fyw yn ei enaid, hyd oni ddaeth yr amser iddi dorri allan yn fflam gref a gweithgar.

Yn fuan ar ol i'r Gymdeithas Genhadawl gael ei ffurfio yn Llundain, fe gyrhaeddodd hanes am dani i wlad ac eglwysi Protestanaidd Holland, lle 'r oedd efe wedi ei eni a'i fagu. Ar ryw brydnawn-gwaith myneg-wyd iddo, gan gyfaill crefyddol, Fod Cymdeithas newydd gael ei ffurfio yn Lloegr, i'r dyben o anfon yr efengyl i blith y Cenhedloedd; a bod yno long, âg amryw Genhadau arni, ar hwylio i ynysoedd Môr y Dehau.----Anmhossibl adrodd ei deimladau ar hyn: llawenydd annhraethol a'i llanwodd: ni's gallai un newydd yn y byd atteb mor wych i'r dymuniadau oedd wedi hirweithio yn ei galon. Nid oedodd efe gynnyg ei wasanaeth i'r Gymdeithas; a llawen fu ganddynt hwythau dderbyn ei gynnyg, y'nghŷd â'r gŵr tra defnyddiol hwnnw, Vanderkemp. Mor hynod y mae Mr. Kicherer wedi ei ddonio i'r gorchwyl Cenhadawl----mor ddiflino y mae wedi llafurio eisoes yn yr anialdir---mor wresog, mor ffyddlon, ac mor llwyddiannus ei weinidogaeth---a

ymddengys yn y dalenau canlynol; y rhai, yr ydym yn hyderu, a gânt eu darllen gyd â boddlondeb a buddioldeb gan y rhai "sy 'n caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn gwirionedd."

Y mae 'r olwg ar dri o'r Hottentots, yn ddychwelcdigion at Grist, wedi bod, yn ddiweddar, yn wledd foddhäol i filoedd lawer yn Llundain; ac, yn eu mysg, i dalfyrydd a chyhoeddwŷr hyn o hanes. Anfynych y gwelwyd Hottentots yn Europe; ac nid un, erioed o'r blaen, yn credu y'Nghrist. Am y rhai'n fe eill miloedd dystio gyd â pha symlrwydd, addasrwydd, a bywiogrwydd yspryd y nerthwyd hwynt i gyffesu eu ffydd ger bron cynnulleidfäoedd tra lliosog; nes ydoedd y rhai mwyaf petrusgar yn gorfod addef, eu bod yn wir "wedi eu dysgu gan Dduw."



# ADRODDIAD Y PARCHEDIG MR. KICHERER.

MI aethum ar fwrdd llong, y'nghŷd â'm brodyr, Vanderkemp, Edwards, ac Edmond, y pummed dydd o Ragfyr, 1798, ac a gyrhaeddasom Dre 'r Cape of Good Hôpe ar y dydd olâf o Fawrth, 1799. Ein bwriad oedd myned i fysg y llwyth a elwir Namaquas; ond wedi deall eu bod y pryd hynny mewn rhyfel, ni a newidiasom ein bwriad, ac a ymbarottôisom at fyned i Caffraria.

Ychydig ddyddiau cyn ein dyfodiad i Dre 'r Cape, yr oedd tri o'r llwyth a elwir Boschemen wedi dyfod oddiwrth yr Afon Zak (yr hon sy rhwng pedwar a phum cant o filltyroedd, yr ochr ogledd-orllewinol, o'r Cape) i ddeisyf ar i'r Llywodraethwŷr yno anfon Dysgawdwŷr i'w gwlad hwy. Rhagluniaeth a agorasai y drws hwn yn y môdd canlynol. Yr oedd ffermwŷr bröydd pellaf y wlad wedi cael colledion trymion, trwy yspeil-waith y Boschemen nesaf attynt. I attal y fath helynt rhag llaw, hwy a brynasant heddwch ganddynt, am amryw filoedd o ddefaid. Wrth gadarnhâu y cytundeb hwn, darfu i ffermwr crefyddol, a'i enw Fflorus Ffischer, ac ereill gyd âg ef, roi gweddi i fynu yn ngŵydd y Boschemen. Ar eu hymofyniad am natur a dyben y fath beth, fe 'u hattebwyd, eu bod yn gwneuthur hynny i erfyn bendith yr Hollalluog Dduw, ffynnon pob daioni, ar yr hyn oedd mewn llaw. Mynegwyd iddynt hefyd, mai eu hanwybodaeth a'u hesgeulusdra hwy o'r Bod Dwyfol hwn oedd y gwir achos o'u bod mor druenus a thlawd. Ar hyn y Boschemen a daer-ddeisyfiasant ar fod i ryw rai addas ddyfod a phreswylio yn eu mysg, a'u haddysgu, fel y deuent hwythau i fod mor gyfoethog a hapus a'u cymmydogion. Annogwyd hwynt i anfon, neu ddyfod, at y rhai oedd mewn awdurdod yn Nhre 'r Cape; ac yno y cyfarfuom ni â hwynt. Nyni a edrychasom ar y cyd-ddygwyddiadau hynod hyn fel galwad rhagluniaethol i fyned attynt: ac wedi erfyn ar yr Arglwydd bennodi pwy o honom a âi, ni a appeliasom at y coel-bren, yr hwn a syrthiodd arnaf fi. Ein cyfaill, Edwards, ydoedd eisoes wedi bwriadu myned yno; ac un Kramer, gwr ieuangc wedi ei eni yn y Cape, a'n canlynodd wed'yn.

MAI y 23, nyni a adawsom Dre 'r Cape; a'n brodyr, Vanderkemp ac Edmond a deithiasant gyd â ni hyd y lle a elwir Rodezand, ar eu ffördd i

Caffraria. Yna cawsom ein mawr-groesawu gan y Gweinidog duwiol, Mr. Vos, sydd yn wr llafurus a llwyddiannus, a chynnulleidfa flodeuog ganddo. Yma treuliasom beth amser yn gysurus, gyd â chyfeillion Crist'nogol; a chawsom aml gyfle i bregethu 'r gair yn y gymmydogaeth. Oddiyma cymmerasom daith hyd Bavian's Kloof, lle y mae gan y Morafiaid gynnulleidfa liosog, a da ei threfn, o Hottentots *dofion*: dyna 'r enw a roir arnynt i'w gwahaniaethu oddiwrth yr Hottentots gwylltion a'r Boschemen, am eu bod ryw faint yn well eu moes, ac na redant ymaith, fel y rhei'hy, wrth lyr olwg ar bobl wynion.

Ar ein ffordd i Bavian's Kloof, yn agos i'r Afon Lydan, rhyngodd bodd i Dduw fendithio fy llafur tlawd i, yn mysg y bobl (Dutch) i radd helaeth. Tystiasant eu diolchgarwch trwy ddagrau lawer, a rhodd o un-ar-ddeg o ychen gwedd, at ein taith y'mlaen. Ar ein dychweliad i Rodezand, y brodyr, Edmond ac Edwards, a neillduwyd, mewn modd difrifol, i waith y weinidogaeth, yn eglwys Mr. Vos; a thrannoeth y Dr. Vanderkemp a Mr. Edmond a aethant y'mlaen tu a Chaffraria.

Mehefin y 25, ni a ymadawsom â'n cyfeillion caredig yn Rod nd, wedi cael benthyg *wagen*, neu gertwyn bedair olwyn, a gweision, i'n hebrwng. Aethom dros ddarn maith o dir, sy mor sych yn yr haf, fel nad oes blewyn glas i gael arno: ond fe drôdd allan yn well i ni, pan aethom drosto; cawsom borfa ddigonol i'n hanifeiliaid, ac i eiddo 'r trigolion, oedd, wrth glywed am ein taith, yn cyrchu attom o'r parthau o amgylch i glywed yr efengyl. Nid oeddym yn myned ond yn araf y'mlaen, am fod ein *wagen* wedi ei thrwm-lwytho âg anrhegion lliosog y trefedigion caredig hyn: ond yr oeddym yn cael pregethu 'n fynych i gynnulleidfaoedd bychain o'r ffermwyr nesaf attom.

Ar ol pythefnos o daith, trwy fynydd-dir a gwastat-tir, hyd eithaf yr ardaloedd a feddiennir gan Grist'nogion, daethom i dŷ Mr. Ffischer, lle cawsom groesaw caredigol. Hwn yw'r gwr oedd yn swyddog milwraidd, ac yn gweddio wrth wneuthur heddwch â'r Boschemen, fel y crybwyllwyd eisoes: a mawr oedd ei ddymuniad am gael addysg crefyddol iddynt. Etto pa fodd i'w roddi ni's medrai feddwl, am fod ar bawb arswyd rhag yr ystrueiniaid creulon hyn, a'i bod yn annhebygol y gwnâi neb adael cymdeithas Crist'nogion ac anturio i'r fath wlad anial. Ond rhyfeddol yw ffyrdd Duw! yr oedd ganddo ef, y pryd hyn, rai ar eu hymdaith o wlad bell, i gyflawni y dymuniad!

Yma yr arosasom dair wythnos, i barotôi at ein taith y'mhellach; ac yn yr yspaid hwnnw cawsom aml odfa a chyfarfod cysurus, yn enwedig

ar y Sabbothau, gyd â lliaws o'r trefedigion o amgylch. Yr oeddynt yn ymgynnull attom ar gertwyni, ac ar feirch, i wrando a chyfranogi o Swper yr Arglwydd; ac i rai o honynt yr oedd yn daith *pedwar* diwrnod. Nid oes un eglwys nês attynt nâ Rodezand; ac i honno y maent weithiau yn myned, er ei bod yn daith *wythnos** iddynt! Mwy nag a fedraf fi yw adrodd ein cysuron y dyddiau hynny, neu 'r arwyddion rhyfedd o fendith ar ei air a roddodd Duw yno, i Grist'nogion, a'r Barbariaid hefyd.

Taer oedd eu deisyfiad am i ni aros yno 'n hŵy; ond gan fod awydd ynom am ddechreu 'n llafur y'mhlith y Boschemen, nyni a gychwynasom ymaith yr 22 o Orphenaf; a'n llettŷwr caredig Mr. Ffischer, y'nghŷd â llawer o ffermwŷr ereill a'u gweision, yn ein hanfon. Yr oeddym yn nghylch 50 o nifer, a chennym 6 o *wagenau* yn llwythog o ymborth, 60 o ychen, ac yn agos i 200 o ddefaid, rhoddion haelionus pobl y wlad, sef, y Dutch. Yr wythnos honno yr oedd ein taith trwy wlad ag ambell dŷ annedd ynddi: etto y nosweithiau yr oeddym mewn enbydrwydd, gan y llewod a bwystfilod ereill oedd yn nesau i'n bygwth. Ond y pryd hyn yr oedd fy meddwl yn ddiddychryn, yn gorphwys ar yr Arglwydd, ac yn cael ei gadw mewn tangnefedd heddychol. Y 29, daethom i wlad anial hollol, heb flewyn o laswellt i'w weled: etto y mae llewod ac estrysiaid yn aml ynddi; a wyau 'r estrysiaid a wnaent i ni bryd melus. Bob nos yr oeddym yn cynneu tanau, i gadw 'r llewod oddiwrth ein gwersyllfa. Ar ol bod chwe' diwrnod heb weled dyn, daethom, y 3dd o Awst, i fan lle 'r oedd rhai o'r Boschemen yn byw: a thri o honynt a anturiasant ddyfod attom. Drannoeth, wrth groesi 'r Afon Zak, un o'n *wagenau* a ddymchwelwyd, ond heb lawer o niweid. Drannoeth ni a orphwysasom; a daeth attom y'nghylch 20 o'r Boschemen. Y chweched o Awst, sefydlasom ar lygeidyn o dir, ac a'i henwasom *(Happy Prospect Fountain)*† Ffynnon Dedwydd-drem. Yma ni a syrthiasom ar ein gliniau, gan gyflwyno 'r lle, a ni ein hunain i wasanaeth yr Arglwydd, a thaer-erfyn am ei bresennoldeb yn yr anialwch, a'i fendith ar ein llafur. Dechreuasom yn ebrwydd ar barotôi gardd, ac adeiladu bwth o hesg, gan nad oedd un pren yn tyfu o fewn cylch ein golwg.

---

* Mawrhaed y Cymry eu breintiau, wrth ystyried y prinder o foddion gras i'r Crist'nogion hyn, sy 'n byw yn mherfedd-dir Affrica.

† Gwel Trysorfa Ysprydol, Rhan V. tu dalen 310. Yr ydym yma yn talfyru cryn lawer, am fod llawer wedi ei ddywedyd yno am eu budreddi, annhrefn, &c. yr hyn y mae Mr. Kicherer yma yn ei wirio, gan chwanegu llawer at yr hanes.

Awst y 12fed, bu raid i Mr. Ffischer, a'n cymmwynaswŷr caredig ereill, ein gadael, a dychwelyd i'w cartrefi. Amser o brofiad dwys oedd hwn i mi; a thrallodedig iawn oeddwn ar y cyntaf: ond yr Arglwydd a'm cysurodd. Daeth ychwaneg o'r Boschemen attom, y'nghylch deg ar hugain ar unwaith, i ymofyn am achos ein dyfodiad. Tra amheugar oeddynt ar y cyntaf; ond aml rodd fechan o'r llysieuyn sy mor dra hoff ganddynt, sef, *tobacco*, a'u gwnaeth yn fwy cyfeillgar. Yn fuan wed'yn fe syrthiodd ein bwth hesg, wrth i ni geisio ei gadarnhâu â chlai: ac ni a aethom y'nghŷd â chodi adeilad gryfach.

Yr wyf yn cofio yn dda iselder fy yspryd yn y dyddiau hyn, ac mor anoddefol fuasai 'r sefyllfa i mi, yn alltud truan oddiwrth y cwbl oeddwn yn ei garu yn y byd, pe na buasai i'r Duw yr oeddwn yn ei wasanaethu, weled yn dda lonyddu fy nghalon derfysglyd, pan fyddwn yn taenu fy nghŵyn ger ei fron. Hyn a brofais yn fynych, ac yn dra neillduol un prydnawn, pan oeddwn yn eistedd ar garreg, y'nghanol cylch o'r Boschemen, ac yn ceisio trosglwyddo 'r addysgiadau cyntaf i'w meddyliau diddysg.

Nid oes gan yr ystrueiniaid hyn un dychymmyg am Fod Goruchaf; yn ganlynol, nid ydynt yn arfer un math o addoliad. Ond y mae ganddynt ryw barch coel-grefyddol at bryfyn a alwant, yn ol ystyr eu hiaith hwynt, y Ddalen-ymlusg. Y mae ganddynt dyb fod golwg ar hwn yn arwyddo hap dda, a'i ladd yn dwyn melldith ar y lladdwr. Y mae ganddynt hefyd ryw ddychymmyg am yspryd drwg, yn peri niweid iddynt, yn enwedig rhyw ddoluriau a chlefydau; ac, i wrth-weithio ei fwriadau drwg, y mae ganddynt fath o bobl i chwythu a rhuo uwch ben y cleifion; a hynny a wnant am oriau y'nghŷd.

Y mae gan y gwŷr yn fynych amryw wragedd: ond ychydig a wyddant am serch prïodasol, neu am ddedwyddwch teuluaidd. Bychan yw eu gofal am eu plant: ni cheryddant mo'nynt, oddieithr mewn gwŷnwŷllt; ond creulon fyddant wrthynt y pryd hynny. Mewn cweryl rhwng gwr a gwraig, neu rhwng amryw wragedd yr un gwr, y mae 'r blaid a faeddir yn fynych yn dïal ei llid ar blant y trechaf, ac yn eu lladd os gallant. Anfynych y mae 'r Hottentots dofion yn lladd eu heppil, oddieithr mewn gwŷn orwyllt; ond y Boschemen a wnant hynny yn ddirusiant ar amryw achlysuron; megis, pan f'ont yn aflunaidd, pan fo prinder ymborth, pan fo 'r tad wedi gadael y fam a'r plentyn, neu pan f'ont ar ffo rhag gelynion. Ar achlysuron o'r fath hwy a'u tagant, a'u mygant, a'u taflant yn yr anialwch, neu a'u claddant yn fyw. Ambellwaith y maent wedi taflu plentyn i lew newynllyd, yn sefyll ac yn rhuo

o flaen eu bythod, yn nacâu troi ei gefn, nes cael rhyw aberth i'w safn. Pan allo 'r plant ymlusgo, y mae 'r fam yn ddïofalhâu am danynt: ânt allan y bore, a phan ddychwelant yr hwyr, hen groen dafad i orwedd arno, ac ychydig laeth, neu ddernyn o gig, os bydd ganddynt, yw 'r eithaf a allant ddysgwyl ei gael. Ychydig o honynt sy radd yn well nâ hyn, ac yn meddu ymserch cydradd â'r anifeiliaid.

Yn fynych hwy a adawant eu rhïeni oedranus, wrth symmud o le i le i hela, â dim ond dernyn o gig, a llonaid plisgyn wy estrys o ddwfr yn eu hymyl. Ar ol darfod hyn, y mae 'r creadur truan yn trengi, neu yn myned yn ysglyfaeth i'r bwystfilod gwylltion. Y mae llawer o rai o'r llwythau hyn yn byw ar yspail a galanas, ac yn euog o erchyll-waith creulon.

Y fath yma yw 'r bobl y mae Rhagluniaeth Duw wedi ein cyfarwyddo attynt; ac yn eu plith, gogoniant fyddo i'w enw, fe ryngodd bodd iddo alw llawer i gymdeithas yr Efengyl, a'u gwneuthur yn arwyddion nodedig o'i hollalluog ras. Ond i ddychwelyd at ein hanes, yr ydym yn treulio 'n dyddiau fel hyn........O ddeutu codiad haul yr ydym yn ymgynnull i ddarllen rhan o'r Bibl, canu hymn, a gweddïo. Yna mae 'r bobl mewn oed yn ymado, a'r Ysgol yn dechreu: yr ydym yn dysgu 'r bobl ieuaingc i sillafu a darllen Dutch. Yn y cyfamser y mae genethig o'r Boschemen yn parotôi ein bwyd. Ar ol Ysgol awn at ein gorchwylion, megis garddu, adeiladu, &c. Ganol dydd mae 'n ciniaw; a'r prydnawn yn cael ei dreulio yn gyffelyb i'r bore. Pan ddelo 'r hwyr, ni a orphenwn ein diwrnod trwy weddi, canu hymnau, ac ymddiddan am bethau dwyfol yn y modd egluraf y medrwn.

Y pryd hyn yr oeddwn yn ddwfn-deimladwy o bwys ac angenrheidrwydd gweddi. Cefais nerth yn fynych i blygu fy ngliniau o'i flaen Ef, a addawsai fynnu 'r Cenhedloedd yn etifeddiaeth iddo; a chefais rym neillduol i ymdrechu am y fendith; a rhyddid cysurus wrth ddadleu geiriau Crist ei hun, a phwyso ar ei ffyddlondeb i'w cyflawni. Byth nid anghofiaf yr amser nodedig hwn. Rhyfeddol oedd gennyf yn fynych, mai po tywyllaf a mwyaf digysur fyddai fy ngolygiadau, mwyaf helaeth y rhoddid im' yspryd gweddi, fel yr oeddwn yn gallu ymgysgodi yn Iesu, a gorchymmyn y gwyllt-ddynion hyn i'w rydd gariad a'i ras.

O'r amser hwn fe amlhäodd y Boschemen a gyrchent attom; ac mi a ddechreuais brofi peth calondid yn fy ngwaith. Yn fynych yr oedd fy nheimladau yn dra chysurus, wrth osod o flaen y trueiniaid hyn ras anfeidrol y Prynwr. Aml waith dechreuais dan ocheneidio, a diweddais

dan orfoleddu gan lawenydd calon. Da oedd gennyf eu bod yn mawr-synnu wrth glywed am Dduw, ac am adgyfodiad y meirw. Yr oeddynt yn fyr o eiriau i adrodd eu syndod, am eu bod wedi byw cyhyd heb gymmaint a meddwl am y Bod Dwyfol. O hyn allan hwy a'm galwent i yn Ebo, neu Dad. Weithiau fe fyddai effaith y gair mor gryf arnynt, fel y dysgwyliem eu bod yn wir-ddychweledig: ond drachefn byddai eu hanwadalwch naturiol megis yn dymchwelyd pob arwydd da. Rhy an-hawdd yw adrodd pa fath gynnorthwyon anghyffredin o amynedd, doeth-ineb, a gwroldeb oedd yn eisiau arnom y'nghychwyniad y gwaith hwn. Pa fodd bynnag yr oedd rhai o'r Boschemen yn awr yn dechreu gweddïo yn debyg i hyn: "O Arglwydd Iesu Grist, ti a wnaethost yr haul, y "lloer, y bryniau, yr afonydd, a'r llwyni; am hynny ti a fedri newid fy "nghalon innau. O, gwna hi yn hollol o newydd." Rhai a ddywed-ent wrthym eu bod yn methu cysgu trwy 'r nos, o achos eu pechodau, a'u bod yn gorfod codi i weddïo: Ereill, eu bod ar eu helwriaeth yn teimlo rhyw gynhyrfiad disymmwth i syrthio o flaen yr Arglwydd, a gweddïo am galon newydd. Da oedd genym glywed hyn: etto yr oedd achos bod yn gynnil, ac nid credu ar unwaith fod hyn oll yn wirioneddol a diffuant.

Yn mysg yr anhawsderau ar ein ffordd, un o'r mwyaf oedd y diffyg o Ddeonglydd da. Nid oeddym etto ond trwsgl ac anmherffaith yn eu hiaith hwynt: yr oeddym yn hiraethu ac yn gweddïo am un cydna-byddus â hi, ac â gwir grefydd hefyd. O'r diwedd caniatâwyd ein dei-syfiad trwy ddyfodiad annysgwyliadwy un Wiliam Ffortuin, a'i wraig. Yr oedd efe yn Hottentot, a hithau o'r Boschemen; a'r ddau yn medru 'r iaith Dutch, ac yn fwy moesgar nâ'r genedl yn gyffredin. Yn hyn ni's gallwn lai nâ dïolchus-addef llaw fy Meistr mawr, a wrandawodd ac a attebodd fy ngweddi: ac yr wyf yn ei gofio, fel pe buasai ddoe, mor fawr y cryfhäodd hyn fy nghalon a'm dwylaw. "Pa beth a dalaf i'r "Arglwydd am ei holl ddoniau i mi!"

O'r amser nodedig hwn bu ein llwyddiant yn fwy, yn ysprydol, ac yn dymhorol. Yr oedd Wiliam yn arddwr medrus; a'i wraig, yr hon oedd y Deonglydd pennaf, yn medru edrych ar ol y tŷ: felly buant yn fawr gyfnerth i ni. Y'nghylch y pryd hwn, fy nghyfaill Edwards, yn chwen-nych dysgu Saesoneg i'r Hottentots, a'n gadawodd ni, i fyned y'mhellach i'r wlad.

Gan fod y gwaith yn chwanegu bob dydd, a nifeiri mwy yn tyrru at-tom, bu raid in' roi enwau arnynt, i'w gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd:

ac mi a'u 'sgrifenais â *chalk* ar eu cefnau. Felly, pan nesâi un o honynt attaf, y peth cyntaf a wnâi oedd dangos i mi ei ysgwyddau. I'w hannog at waith a diwydrwydd yr oeddym yn rhannu rhoddion bychain; *tobacco* i'r dynion; cadachau i'r gwragedd; a ffrwythydd sychion i'r plant. Yr oedd genym lawer o'r pethau hyn, wedi eu rhoddi gan y ffermwŷr wrth adael Rodezand.

Yr oedd ar amryw yn awr arwyddion o waith gras yn eu calonnau: etto yr oedd arnaf ofn penderfynu yn gadarn am danynt. Yn mysg y rhai'n yr oedd un a'i enw Abraham, ac un Obaas, a'i wraig Antjee, eu geiriau yn dangos rhŷw fesur o brofiad, a'u hymddygiad yn brawf o gyfnewidiad grasol. Yr oedd yn wir lawer yn ymddangos fel rhai yn gweddïo; ond yr oedd arnom ofn am rai o honynt, o achos eu bucheddau anwastad, eu hymddangosiadau phariseaidd, eu hunan-waith, a'u gau ddybenion, o herwydd fe weddïai rhai o honynt, heb un dyben, dybygem, ond i gael dernyn o *dobacco* am eu poen.

Yn Mis Hydref, aeth ein 'stôr o ymborth yn isel; ac nid oedd genym ond myned at ein Harglwydd yn yr achos. Fe a'n hattebodd trwy ogwyddo calon un Ffrancis Moritz, ffermwr, i anfon i ni rodd hardd; eidion mawr, 30 o ddefaid; swm o flawd, halen, a phethau ereill. Y gweision, o Hottentots, oedd yn dwyn y pethau hyn i mi, a chwanegasant attynt amryw ddefaid, fel tystiolaeth o'u llawenydd am fod yr efengyl yn cael ei dwyn at eu cydwladwŷr.

Y'nghylch y pryd hwn cawsom amryw rybyddion am ein perygl, am fod y llwyth a elwir y Kraal Mawr, y lliosocaf o'r Boschemen, yn nesâu attom. Y rhai'n nid oeddynt yn cytuno yn yr heddwch diweddar; a'r dywediad oedd eu bod yn bwriadu rhuthro arnom i'n dyfetha. Ond fe 'n galluogwyd i roi ein hunain i'r Arglwydd, ac i fyned y'mlaen yn ein gorchwyl mawr, dan ymddiried i'w ofal a'i amddiffyniad ef trosom.

Ar gychwyniad ein gwaith, buom yn ceisio argyhoeddi ein gwrandawŷr, trwy gyfeirio rhesymau at eu dealltwriaethau; ond ychydig a lwyddodd ein hymgais yn y ffordd hon. Yn barhâus hwy godent wrthddadleuon ac anhawsderau. Yna profasom ffordd arall; safasom yn bennaf, yn y modd mwyaf syml a serchog, ar gariad Crist yn marw; dangosasom Ef fel yr unig a'r holl-ddigonol Geidwad i bechaduriaid colledig ac andwyol; gan eu gwahodd yn dirion i ddyfod atto am achubaeth; ac erfyn arnynt wneuthur prawf teg o'n hathrawiaeth, trwy weddïo ar yr Iesu. Yn y ffordd hon y gwnaethpwyd y gair yn effeithiol i lawer o honynt. O bryd i bryd daeth rhai attom, oedd o'r blaen yn

ddideimlad, ac, â dagrau yn eu llygaid, tystiasant eu bod yn gweled eglurach eglurach, wirionedd a rhagoriaeth yr efengyl, gan ei phrofi yn allu Duw er eu hiechydwriaeth.

Y Nadolig, 1799, daeth amryw ffermwŷr attom, i wrando, a chyfranogi o Swper yr Arglwydd. Yr oedd rhai o honynt wedi eu deffrôi trwy weinidogaeth Mr. Vos, yn Rodezand; ond yn awr daethant i'n trigfan ni, am ei bod yn nês. Dygasant anrhegion o ymborth gyd â hwynt, a da oedd eu cael; felly buom efo'n gilydd yn dra chysurus amryw ddyddiau. Yr oedd fy ngardd yn awr yn dechreu troi allan yn dda tu ag at gynnal y teulu; heblaw rhoddion i'r Boschemen. Ond prin y cyfrifent hwy ffrwythau 'r ardd yn werth eu bwyta, oddieithr i ni eu berwi, a'u dwyn i'w bythod iddynt.

Yn Ionawr, 1800, bu raid i ni gymmeryd taïth i Dre 'r Cape, i geisio amryw bethau yr oedd eu heisiau arnom, yn enwedig dilladau. Rhoddodd ffermwr caredig fenthyg *wagen*, ac ychen i'w thynnu. Nifer o'r Boschemen hefyd a gynnygiasant ddyfod gyd â mi. Da oedd genyf eu cymmeryd, a chael y prawf yma, fod eu culni a'u hamheuaeth tu ag attom yn lleihâu. (Mi a'u gwelswn mor amheus o honof, fel, er i mi eu gwahodd i mewn i roi bwyd iddynt, na phrofent ddim, nês i mi ddechreu bwyta o hono; a hynny rhag ofn cael eu gwenwyno.) Araf oedd ein taith, am fod pawb agos o honom, yn hen ac yn ieuangc, yn gorfod cerdded yr holl ffordd. Y nos byddem, yn aros wrth ryw ffynnon yn yr anialdir, ac yn mwynhâu odlaon melus mewn canu a gweddïo. Ar ol in' gyrhaeddyd y bröydd trigianol, yr oedd y ffermwŷr o amgylch yn awyddus yn cyrchu attom, i dreulio dydd yr Arglwydd mewn addoliad cyhoedd. Ar ein taith cyfarfuom â gwas, o Hottentot, wedi anfon gan ffermwr, ei feistr, â rhai ychen wedi eu pynorio â blawd i'n teulu gartref. Yr oedd hon yn rhodd mewn iawn bryd, o herwydd yr oeddwn mewn gofid wedi gadael fy nghyfaill, Kramer, a'r rhai oedd gyd âg ef, yn brin arnynt am fara.

Ar ol bod y'nghylch mis ar y daith, ni a gyrhaeddasom Dre 'r Cape; ac heb achos cwyno am y meithder, am fy mod yn cael lle i gredu fod yr Arglwydd wedi bendithio fy ngweinidògaeth, ar y ffordd, i Grist'nogion a Phaganiaid. Wrth nesâu at y Cape, tra yr oeddwn i yn sirioli fwy fwy, yr oedd y Boschemen gyd â mi, druain, yn myned yn ofnus a dychrynedig. Un o'r pethau cyntaf a'u brawychodd, oedd yr olwg ar gyrph amryw ddrwg-weithredwŷr yn crogi mewn heiyrn; ac yr oedd cydwybodau amryw o honynt yn tystio eu bod hwythau yn haeddu 'r

un peth. A mwy drachefn a fu eu braw, o weled, rai dyddiau ar ol ein dyfodiad i'r Dref, ddrwg-weithredwr arall yn cael ei grogi. Mi a geisiais ddangos iddynt, natur, iawnder, a lles llywodraeth wladol, yn cospi rhai drwg, ac yn gwobrwyo 'r da. Hyn a'u boddlonodd, nes y dywedasant mai da fyddai pe bâi ganddynt hwythau y fath drefn yn eu plith.

Yn fuan ar ol ein dyfodiad i'r Dref, cefais alwad i bregethu yn yr Eglwys Galfinistaidd; yr hon sy 'n adeilad helaeth, ac oedd y pryd hynny wedi llenwi gan gynnulleidfa dra threfnus. Syn oedd gan y Boschemen weled y fath dyrfa hardd; a digrif oedd eu gwaith yn eu cyffelybu i nyth o fywion, a sain yr organ i sŵn haid o wenyn. Ond o'r pryd hyn hwy a feddyliasant yn well am eu Gweinidog: o herwydd, o'r blaen, yr oeddynt wedi cael eu temtio i edrych arnaf fel crwydryn tlawd â ddaethai attynt er mwyn bywioliaeth. Mi a gymmerais bob cyfleusdra i'w dwyn i gymdeithasau a chyfarfodydd crefyddol: ac yr oedd arwyddion eu bod yn cael hyn o fendith; sef, eu hargyhoeddi fod fy athrawiaeth yn un â chredo Crist'nogion ereill; ac hefyd fod Crist'nogion yn llawer dedwyddach nâ Boschemen. Fe allai i'r argyhoeddiad yma barotôi 'r ffordd i argyhoeddiad a ffydd gadwedigol. Ni a aethom i ymweled âg amryw o'r Swyddogion pennaf, yn enwedig Mr. Renefield, yr hwn a'n croesawodd, ac a'n hanrhegodd âg amryw roddion, yn enwedig dilladau i'm pobl druain yn yr anialdir. Y Boschemen, yn eu crwyn budron defaid, yn eistedd mewn 'stafelloedd gwychion, ar gadeiriau sidanog, neu yn rhodio o flaen drychau mawrion goreurog, oeddynt yn peri cryn ddifyrwch, ac yn cynhyrfu tosturi hefyd. Dygodd Mr. Renefield ni at y Llywodraethwr Dundas; yr hwn a fu 'n dra thirion wrthym; a'r Boschemen a ddïolchasant iddo, fel y medrent, am adael i Genhadau ddyfod a'u haddysgu, pryd nad oedd neb o'r blaen yn gofalu am eu heneidiau.

Rhaid oedd bellach ddychwelyd: ond fe fu 'n taith yn ol yn dra a'nghysurus, gan wlaw a llifogydd. O'r diwedd, yn y mis Mawrth, ni a gyrhaeddasom ein trigle, Ffynnon Dedwydd-drem; ac a gawsom ein cyfeillion mewn iechyd a sirioldeb, am yr hyn ni a gyd-ddïolchasom o'r galon i'n Bugail da. Yr oeddym yn dri-ar-ddeg o nifer ar y daith, yn cychwyn heb ddim genym; ond yn dyfod yn ol â phedair buwch, a chwech ugain ac un-ar-bymtheg o ddefaid, heblaw pethau ereill, rhoddion llawen Crist'nogion caredig.

Tra buom yn absenol, yr oedd Cadpen ar lwyth o'r Boschemen, a'i enw Vigilant, wedi dyfod i'n trigfan i gymmeryd dafad, fel dyled iddo. Fy nghyfaill, Kramer, a'i gwrthwynebodd; yntef a wanodd y ddafad, ac

a wnaeth gais at Kramer; ond llangces a fu 'n offeryn i achub ei fywyd: hi a ddaliodd yr ergyd â'i dilledyn croen. Rhoddodd yr Arglwydd nerth a gwroldeb hynod i Mr. Kramer; fe 'i daliodd, ac a'i hanfonodd at y swyddog nesaf, Mr. Ffischer: Yntef a'i cadwodd mewn dalfa, gan fwriadu ei anfon i Dre 'r Cape i gael ei farnu. Ond fe gafodd le i ddïangc; ac a ddaeth drachefn attom, (yn fuan ar ol fy nyfod adref) yn llawn cynddaredd, a than alw ar ei lwyth lliosog i'w helpio i ddïal arnom am y tro. Yr oedd ein perygl yn fawr; ond ni a lefasom ar yr Arglwydd; a'r noson honno daeth attom fy anwyl gyfaill Mr. Scholtz, o Dre 'r Cape, y'nghŷd â ffermwr a'i weision; a'u dyfodiad hwy a gafodd yr effaith o yrru 'r adyn gorwyllt o'n cymmydogaeth. Ar yr achos hwn cawsom brawf o ffyddlondeb amryw o'r Boschemen; o herwydd tra 'r oedd ein bywydau yn cael eu bygwth, yr oedd lliaws o honynt yn cadw gwyliadwriaeth o ddeutu ein trigfan.

Yn fuan ar ol hyn, fy nghyfaill Kramer a'n gadawodd, i fyned ac aros ger llaw 'r Afon Hex: a Mr. Edwards a aeth ymaith i'r Cape. Minnau ar hyn a symmudais, efo fy nghyfaill, *Scholtz, at yr Afon Zak; lle y sefydlasom yn niwedd Mawrth, 1800, a'n Boschemen oll yn ein canlyn.

Yma, niferi o'r Hottentots dofien a darawsant attom. Y mae gan y rhai'n rai gwartheg a defaid; tra mae 'r Boschemen yn byw ar helwriaeth; neu, pan ballo hynny, ar ryw ymlusgiad, neu ryw wraidd gwylltion; ac yn rhy fynych ar yspeilio eu cymmydogion. Ond er ein cynnydd mewn nifer, nid oeddwn yn medru gweled cynnydd ar ein gras. Yr oeddwn yn ofni nad oedd nemmawr o argraffiadau arhosol ar yr eneidiau anwadal hyn: a mawr oedd fy nhrymder ar yr achos.

Y pryd hyn cefais wahoddiad i fod yn Weinidog yn y Pearl, pentref cyfoethog gerllaw Tre 'r Cape. Mawr oedd fy nherfysg, am na wyddwn pa un ai temtasiwn oedd hyn, i dynnu fy mryd oddiwrth y Cenhedloedd, ai ynte galwad, oddiwrth Dduw, i le mwy defnyddiol. Y gair hwnnw a gafodd effaith ddwys arnaf, "Galw arnaf fi yn nydd trallod," &c. Yn ganlynol, mi a daear-lefais ar yr Arglwydd, gan ddeisyf ei addysg a'i arweiniad yn y matter. Cafodd fy meddwl ei dawelu 'n fuan; a'i fodd-

* Fe fu 'r gwr ieuangc hwn yn dra gwasanaethgar efo Mr. Kicherer, yn dysgu y plant, &c. am dair blynedd. Dychwelodd gyd ag ef i Europe; ac y mae yn awr mewn prif-ysgol, ar y bwriad o fod yn Genhadwr at y Cenhedloedd.

loni mai nid ewyllys Duw ydoedd i mi fod yn Weinidog sefydlog yn y Pearl: ac attalfa ragluniaethol hefyd a ymddangosodd.

O'r amser yma, gwelodd yr Arglwydd yn dda fendithio fy llafur mewn modd hynod; nes daeth llawer, oedd yn galetach nâ 'r creigiau, i lefain allan, " Pa beth a wnawn ni i fod yn gadwedig?" Yn wir, yr oedd y bryniau yn fynych yn dadsain gan eu cŵynleisiau uchel. Un o'r dychwelwŷr cyntaf, yma, oedd un o'r Hottentots cymmysg-waed, a'i enw John. Er's tro o amser yr oedd gogwyddiad cryf ynddo i ddyfod a chlywed gair Duw: ond oddiwrth hyn yr oedd rhai o'r ffermwŷr anianol yn ceisio ei attal, gan haeru a gwnawn i naill ai ei ladd ai ei werthu yn sicr. Er hynny, trech a fu 'r tyniad o'i fewn. Fe ddaeth, ac a wrandawodd. Yn fuan dechreuodd lefain allan dan y teimlad poenus o'i bechodau, gan eu cyffelybu, o ran nifer, i dywod yr anialwch. Yn wir, yr oedd wedi bod yn droseddwr erchyll. Ar ol ei fod, tros ryw amser, mewn galar chwerw o herwydd ei bechodau, fe ddechreuodd ddywedyd am gariad Crist at bechaduriaid, ac atto ef ei hun yn neillduol. Hyn oedd bellach ei hoff destun; tra 'r oedd ei ddagrau yn llifo o gariad a diolchgarwch. " O, (meddai efe) yr wyf wedi sôn gormod am y byd; " gadewch i mi bellach sôn am Grist." Yn wir yr oedd yn dywedyd am dano mewn modd ag oedd yn fy mawr-synnu i: Mi feddyliwn nad oedd efe erioed wedi clywed neb yn dywedyd yr un pethau. Yr oedd, yn dra amlwg a hynod, wedi cael ei ddysgu gan Dduw: ac yr oedd ei fuchedd a'i ymddygiad yn gweddu i'w broffes. Ar ol gyrfa fer a bywiog o ras, na pharhâodd ond pump neu chwe' mis, rhoddodd yr Arglwydd ef ar glaf-wely, na chododd oddi arno. Mynnai yn awr ei gario i'n tŷ addoliad, fel y gallai (yn ol ei ddywediad ei hun) *ddal rhai o eiriau'r bywyd.* Ddeuddydd cyn ei farw, gofynais pa fodd yr oedd yn teimlo. " Go isel," (oedd ei atteb) " oblegid er fy mod yn sicr ddarfod " i mi roi pob modfedd o honof fy hun i fynu i Grist, o'r munudyn y " gwelais gyntaf ei degwch; etto nid wyf ddim mor sicr ei fod ef wedi " derbyn fy rhoddiad." Ond y dydd y bu farw, pan elwais arno, dywedodd wrthyf, " O, Syr, mi a welaf yn awr, fod yr Arglwydd Iesu wedi " fy ngharu â chariad tragywyddol; ei fod yn fy nerbyn; ac y bydd efe " yn rhan i mi am byth; ac yn awr, er mai y pechadur gwaethaf ar y " ddaear ydwyf, etto, gan bwyso ar ei waed a'i gyfiawnder ef, byddaf " farw, ac âf at Grist; ac yno arosaf am danoch chwithau."

Ei fab hynaf, Cornelius, yn was i ffermwr yn gryn bell, a ddaeth i

edrych am ei dad yn y munudau hyn. Torrodd allan mewn wylofain, "O, fy nhad yn marw mor ddedwydd yn yr Iesu, a minnau heb gyfle i "glywed ei efengyl." O dosturi atto mi 'sgrifenais at ei feistr, gan ddeisyf ei ganiatâd iddo ddyfod a byw gyd â ni. Ei feistr a'm hattebodd yn hawddgar, ac a ganiatäodd. Cornelius a ddaeth attom, a gwelodd yr Arglwydd yn dda fendithio gair y cymmod iddo yntef hefyd. Ar ôl ei fod am dro tan weithrediadau yspryd caethiwed, cafodd o'r diwedd brofi heddwch sylweddol trwy 'r Cyfryngwr. Ei galon oedd yn cael ei llenwi â syndod, cariad a diolchgarwch; a mawr oedd ei awyddfryd am gyhoeddi 'r Iachawdwr i'r rhai ni wyddent am dano. Yn fyr, y mae ei fuchedd yn hardd iawn; ac y mae genyf le i obeithio y bydd efe, ryw amser a ddaw, yn fendith i'w gydwladyddion.

Pe rhoddai amser, mi allwn adrodd yn gyffelyb am lawer o rai ereill: ond ni fedraf fyned heibio i greadures a elwir Ester, un o genedl y Coranniaid. Pan ymddangosodd hi gyntaf yn ein mysg, prin y medrwn gredu ei bod yn un o ddynolryw. Yr oedd ei holl ymddygiad yn dangos gradd mawr iawn o anifeileiddrwydd. Ei gwisg o groen dafad oedd yn futraf o'r cwbl a welais, neu a aroglais. Aml waith y meddyliais, Yn sicr y mae 'n anmhosibl i'r fath yma gael byth ei dychwelyd! Ond, lle 'r amlhäodd pechod a thrueni, rhagor amlhäodd gras. Yn fuan, dan sain efengyl tangnefedd, dechreuodd ei dagrau lifo: a phan ofynwyd iddi, Pa'm yr oedd hi yn wylo? yr oedd ei hatebion bob amser mor addas a pherthynol, fel y gwelais fod ei dealltwriaeth yn llawer cryfach nag y tybiaswn i. Ar ol tro o amser, gorfu iddi ymadael â'i gwr, yr hwn oedd ganddo dair ereill o wragedd; a hi a lynodd gyd â ni yn ein teithiau rhagllaw. Hi a fu dros fwy nâ blwyddyn yn ofidus dan deimlad o'i phechodau; ond o'r diwedd yr Arglwydd a ddyddanodd ei hyspryd. Hi a fedyddiwyd; ac a ddaeth i fod yn un o'r aelodau mwyaf bywiog, diwyd a defnyddiol yn fy nghynnulleidfa; a'i hymarweddiad sy ddïargyhoedd.

Y'nghylch yr amser hwn, pan oedd amryw ffermwŷr wedi ymgynnull attom, i gyd-gymuno, daeth caeth-was, a redasai o'i wasanaeth, i'n mysg. A phan ddeallodd ein bwriad o'i yrru 'n ol at ei feistr, bwriadodd ddïal; a, thra 'r oeddym ar ein haddoliad, fe wenwynodd ein ffynnon. Sicr y collasem ein bywydau, oni buasai i eneth fechan yn rhagluniaethol ei wylied, pan oedd ar y gorchwyl 'sgeler. Hi a'n rhybuddiodd mewn pryd: y dyn a chwiliwyd; ac ni a gawsom yn ei ddillad weddill y gwenwyn, yr hwn oedd fath o fwsogl, tebyg i wallt dynol. Effaith y llysieuyn cryf hwn yw gwasgfäon yn yr ymysgaroedd hyd

angau. Yr adyn a ddanfonwyd i Dre'r Cape; a ninnau a ddïolchasom i'r Arglwydd am yr ymwared mawr.

Dïangfa hynod arall a haeddai ei choffâu. Ar brydnawn tra gwresog yr oeddwn yn eistedd yn agos i ffenestr agored, a mintai o'r Boschemen gelynol yn nesâu at y tŷ, ac ar ergydio cawod o saethau wedi eu gwenwyno attaf: ond yr eneth a achubodd fywyd Mr. Kramer rhag dagr Vigilant, a'u canfu; a dïangasant ar frys.

Gwr a'i enw Peter Goeiman, a ddaeth yn fynych attom yma, oddi wrth yr Afon Fawr, i wrando'r gair. Ond er pellder ei daith, (yn nghylch 300 milltir) pellach oedd ei galon oddiwrth ymostwng i gyfiawnder Duw ein Hiachawdwr, hyd oni chafodd ei chyndynrwydd o'r diwedd ei faeddu, tan bregeth fy mrawd Mr. Scholtz: "O'r amser "hynny," meddai efe, "mi geisiais faddeuant o'm holl bechodau, yn "unig trwy Grist; ac ynddo ef mi a'i cefais." O hynny allan fe wnaeth broffes hardd a gwresog: a'i ymddiddanion yn feunyddiol oedd am Iesu a'i iachawdwriaeth ogoneddus.

Cyn diweddu hanes fy arosiad wrth yr Afon Zak, rhaid im' grybwyll am waredigaeth hynod arall, a roddodd Duw i mi, o ddwylaw dyn a ddaeth i'n tŷ, dan enw rhithiol, Stephanos. Groegwr oedd efe; ac yr oedd wedi cael ei goll-farnu, yn Nhre'r Cape, am wneuthur arian drwg: ond, cyn y dydd i'w golli, cafodd le i ddïangc o'r carchar. Yr oedd rhyw swn am dano wedi ein cyrraedd ninnau; a phan ddaeth i'm tŷ, (yn absenolrwydd Kramer a Scholtz, oedd wedi myned daith chwe diwrnod oddiwrthym, âg anrhegion o *dobacco*, i wahodd chwaneg o'r Boschemen i wrando'r gair) mi feddyliais fy mod yn canfod arwyddion euogrwydd yn ei wyneb. Ond yr oedd ei ymddiddan mor grefyddol, a'i ymhonniad mor deg, ei fod wedi dyfod i'n helpio i adeiladu Capel, fel y beiais fy hun am ei ammau; ac am hynny gadewais iddo gysgu yn y 'stafell nesaf attaf. Mae'n debygol iddo fwriadu fy lladd, dwyn y *wagen* a'r hyn a allai roi arni, ac yna dïangc at ryw llwyth pellenig. Fe nesäodd yn y nos at fy ngwely; ond Ceidwad Israel, sy heb huno na chysgu, a welodd yn dda fy nghynhyrfu â dychryn o'm cwsg; ac mi a floeddiais arno, fel pe buaswn yn gwybod am ei fwriad gwaedlyd. Wedi colli ei rym, fe ddechreuodd heccian esgus, fod dolur yn ei fol; ac aeth allan o'r tŷ. Y bore, gwybum ei fod wedi myned ymaith, wedi dwyn fy ngwn, a denu amryw o'r Boschemen i'w ganlyn, trwy honni mai ein bwriad ni oedd dïal arnynt a'u lladd. Ein Hottentots a erlidiasant ar eu hol, ac a'u goddiweddasant: bu ymddiddan rhwng y ddwy

blaid, a'u harfau o'r naill du; cytunwyd, i Stephanos roi fy ngwn i yn ol, a gollwng yn ol y Boschemen. Wedi hyn, Mr. Kramer, a Scholtz, a'i cyfarfuant ef yn cilio wrtho ei hun, ac a wnaethant iddo ddychwelyd gyd â hwynt. Hyn a barodd i mi ddyryswch newydd, a llawer o ofid; o herwydd yr oeddwn-erbyn hyn yn sicr mai efe oedd y troseddwr a dorrasai o garchar yn y Cape. Ond ar ol ei wylio am dro, mi a'i cyfarfum yn y nos; cynghorais ef, rhoddais ymborth a Bibl yn ei law; a goddefais iddo fyned ymaith tu a'r Afon Fawr; heb fawr dybio y fath niweid a wnâi efe yno. Am hynny rhagllaw.



*Taith Mr. Kicherer at yr Afon Fawr, neu Orange.*

Y'NGHYLCH y pryd hyn, daeth amryw o'r Coranniaid attom: oddiwrth yr Afon Fawr, eilwaith i'n gwahodd i symmud i'w gwlad hwy, sy o ddeutu 300 milltir o'n trigle, a phregethu 'r efengyl iddynt. Ymgynghorasom â'n hynafgwŷr; ac yr oeddynt oll yn foddlon i'n canlyn: felly, cychwynasom yn Mai, 1801. Ein cyfaill, Anderson, a ddaethai attom er's rhai misoedd, a aeth o'r blaen, gyd â rhan o'n heiddo: Kramer, Scholtz a minnau a ddilynasom, encyd ar ol, gyd â chorph y bobl. Yn ein taith ni a gawsom y wlad yn llawer mwy poblog nag y meddyliasem. Ar y ffordd, aeth un wraig, a'i henw Katjee, mor glaf, fel yr oeddym yn dysgwyl iddi farw. Yn ei chlefyd yr ydoedd yn dra deffröus, ac yn rhybuddio y rhai o'i hamgylch, mewn geiriau toddedig iawn, na chellweirient â'u heneidiau, ac na thybient wir dröedigaeth yn beth bychan. Ei geiriau difrif-ddwys a gawsant effaith ar lawer: ond drwg yw genyf chwanegu, ar ol gwellhâu, hi a ymollyngodd i'w hen ddïofalwch.

Ar y daith fe darawodd un Cornelius Koopman attom: a chyn ei fod tros ddiwrnod gyd â ni, fe'i tarawyd âg argyhoeddiadau, tra 'r oeddwn ar weddi. Pan y gwelais ef gyntaf, yr oedd ei agwedd yn dra balchaidd ac annymunol; ond fel y cymmerodd gras afael yn ei galon, yr oedd cyfnewidiad ebrwydd a hynod i'w weled arno; y llew yn oen: daeth yn fuan i fod yn esampl o dduwioldeb i'r holl gymdeithas. Aml ymddiddan melus a fu rhyngof ac ef am ei helynt ysprydol; ac aml waith y dilynais ef, heb wybod iddo, i ymgywilyddio wrth glywed ei ymdrechiadau â Duw mewn gweddi, â'i ddau fachgenyn bach wedi plygu eu gliniau wrth ei ochr. Ac yma crybwyllaf, ddarfod i mi yn fynych, wrth eistedd ar ryw fryncyn, gael y pleser o glywed rhai o'n pobl druain yn

ddyfal mewn gweddi; un mewn twll o'r graig, yma; a'r llall draw, y tu ol i'r berth; ac yn eu mysg tra mynych y gwelais Cornelius, a i ddau blentyn yn ei freichiau, neu yn eu harwain â'i law. O, fel yr oedd fy ffydd yn cael ei chryfhâu trwy 'r fath wrthddrychau cysurol! Gwelais bellach fod yr Arglwydd Iesu wedi dechreu gwaith da yn mysg y bobl druain hyn; ac fe 'm calonogwyd i obeithio y sefydlai efe ei achos yn fuddugoliaethus yn y wlad; ac y cynhaliai efe bregethiad ei air i'r plant, ac i blant eu plant hwythau.

O ddeutu diwedd y mis, ni a gyrhaeddasom yr Afon Fawr, yr hon sydd, yn y tymmor sych, o ddeutu hanner lled y Thames wrth Bont Llundain, ac oedd yn awr wedi codi gan y gwlawogydd, fel na's gallem fyned trwyddi: Rhaid oedd gan hynny aros tro ar ei glann. Yr oedd fy nghyfeillion, Kramer ac Anderson, wedi cyrraedd atti mewn pryd i'w chroesi, ac wedi dechreu pregethu i'r bobl, y rhai oeddynt yn eu gwrando yn gryn ddyfal. Tra 'r oeddym ni yn dysgwyl am iseliad y dwfr, rhai o'n cyfeillion a anturiasant nofio attom o'r tu draw, ac a'n cynnorthwyasant i wneuthur cludeiriau o goed. Efo y rhai'n ni allasom groesi 'r afon mewn wythnos; etto gyd â chryn anhawsdra. Yr oedd y gludair y daethum i drosodd arni, yn nofio mor ddwfn, fel yr oeddwn yn eistedd at fy hanner mewn dwfr. Yma llawen oedd genym weled arwyddion o newyn mawr am fara 'r bywyd: yr oedd rhai yn llefain, ac ereill yn llesmeirio, tan bregethiad y gair.

Cyn hir bu raid i ni edrych am sefyllfa arall, am fod yr afon hon yn beryglus i fod yn ei hymyl; ei llifogydd mor ddisymwth, fel y maent yn fynych yn ysgubo ymaith anifeiliaid a dynion hefyd. Sefydlasom ar fan a elwir Ffynnon yr Hesg *(Reed Fountain)* ac yno dechreuasom arloesi tir i'w lafurio. Yr oedd genym o ddeutu ugain o'r Hottentots gyd â ni; a'r Coranniaid a ddygent i ni dair o ddefaid, a llonaid tair o'r *bamboo canes* o laeth, yn anrheg bob dydd.

Yma, pan oeddwn i a Mr. Scholtz, a'n Hottentots, yn cysgu un noswaith wrth ochr certwyn, yr oedd cyfarthiad fy adar-gi yn fy aflonyddu, fel yr oeddwn yn ddig wrtho. Ond yr Hottentots, yn deall llais y creadur yn well nâ mi, a edrychasant yn graff o'u hamgylch, ac a ganfuant lew yn agos attom, yn ymlusgo, fel câth, ar hyd y ddaear, i'r dyben o roi naid arnom. Cipiasant eu gynnau yn ebrwydd i danio atto: a'r llew, ar hyn, a drôdd ei gynffon ac a ddiangodd gyd â brys. Fy nghyfaill Scholtz a minnau oedd y rhai nesâf i'r ochr yr oedd yn nesâu; ac ni's gallem lai nâ diolch am yr ymwared hwn.

Wedi i ni ymsefydlu yma, daeth yn fuan attom dyrfâoedd o amryw lwythau—Corannaid, Namaquas, Hottentots, Hottentots basdarddaidd, a Boschemen, y'nghŷd â'u dïadellau llïosog: A llawen iawn oeddynt oll am ein dyfodiad i'w mysg, ond yn enwedig y Coranniaid, y rhai oeddynt yn edrych arnom fel eu hamddiffynwŷr. Yr oeddynt wedi cael eu gorthrymu 'n dost, a'u dyfethu agos, gan adyn cïaidd a elwid Affrican, ac oedd yn ben ar un o'r llwythau basdarddaidd, neu gymmysg. Y mae yr anghenfil creulon hwn yn gryn ddeallgar, neu gyfrwys; ac hyd yn hyn wedi medru gochel y gospedigaeth sy ddyledus iddo. Yma ni a adeiladasom benty hir, â choed, hesg, a chlai; a'i fondo yn cyrhaeddyd i'r llawr. Y rhan ganol o hono oedd ein Heglwys; ac yn un pen iddo yr oedd 'stafell i Anderson a Kramer, yn y llall yr un fath i Scholtz a minnau. Yr adeilad hon oedd yn lle i'r Hottentots ymgynnull ynddi: ac yr oedd genym un arall o'r fath i addysgu 'r Coranniaid a'r Namaquas; yr hyn yr oeddym yn ei wneuthur trwy ddeonglwŷr. Yr oedd addoliad yn cael ei gynnal yn y ddau le ar unwaith; a ninnau 'n gweinidogaethu bawb yn ei gylch.——Nyni a blanasom ardd helaeth hefyd; a chodasom wàl o'i chwmpas.

Rhyngodd bodd i Dduw, yn yr amser hwn, roi cystudd dwys ar fy nghyd-lafurwr ffyddlon, Mr. Scholtz; bu 'n drwm glaf am bum mis; ac fe adawodd ei glefyd gloffni ar ei gorph, oedd o'r blaen yn heinif iachus.

Ein llafur yma a ddilynwyd âg arwyddion o neillduol fendith: mawr oedd chwant y bobl am addysg y gair; a thra hynod oedd yr argraffiadau a wnaeth Yspryd Duw ar galonnau ein gwrandawŷr. Er mai peth a chwarddir wrtho yw hyn gan rai darllenwŷr, etto gwirionedd yw, ein bod yn gorfod cadw pottel o winegr yn wastadol ar y bwrdd, at adfywio y rhai fyddai yn llesmeirio tan ddychrynfëydd cydwybod ac argyhoeddiadau trymion. Aneirif oedd y dagrau a dywelltid, y prydiau hyn, yn mysg y bobl dlodion yma: ac er na's gallwn ddywedyd fod gwir ddychweliad bob amser yn eu canlyn, etto y mae genym le i goelio fod hynny yn rhan ddedwydd i lawer. Am hanes fanwl y gwaith a wnaed yma, mi a'i gadawaf ar fy mrodyr, Anderson a Kramer, sy etto yn sefydlog yn y wlad honno; ond mi a gyffyrddaf â rhai pethau a ddygwyddasant tra bum i yno.——Un oedd dyfodiad ein brawd, John Kock, oedd yn myned heibio i ni yn Genhadwr at y Bootsuanniaid, llwyth sy'n aros yr ochr ogledd-ddwyreiniol oddiwrth y Cape, a thaith o ddeutu wyth niwrnod oddiwrthym ni. Y mae 'r bobl hyn yn llwyr wahanol

oddiwrth yr Hottentots; yn tebygu i'r Caffres yn eu huchder, eu tueddiadau, a'u dull yn byw. John Kock a ddygodd i mi lythyrau oddiwrth fy nheulu yn Holland; ac un yn cynnwys y newydd poenus am farwolaeth un oedd yn dra anwyl genyf yn Nhre 'r Cape. Fy nheimladau ar yr achos oeddynt lymion ofidus; ond bendigedig fyddo Duw, a'm cysurodd yn fy nhrallod.

A mi yn dychwelyd ar geffyl tu a 'r Afon Fawr, â dim ond un Hottentot yn fy nghanlyn, bu raid in' gysgu yn y maes. Y'nghylch canol nos dechreuodd ein ceffylau, oedd wedi eu rhwymo yn agos attom, fod yn dra aflonydd, a'u cynnwrf a'n deffrôdd ninnau. Gwelwn yr Hottentot mewn braw, etto yn chwennych ei gelu, rhag fy mrawychu innau. Pan wesgais arno, fe addefodd ei fod yn canfod llew, o ddeutu deg llath ar hugain oddiwrthym; a minnau yn fuan a welwn ei lygaid tanllyd, fel dwy ganwyll yn llosgi. Yr Hottentot, dan barotôi i danio ei ddryll, a ddymunodd arnaf daro goleu, a rhoi 'r glaswellt ar dân. Erbyn gwneuthur hyn yn ddiymaros, ni a welem y creadur anferth, â'i fwng yn syth, ac ar wneuthur naid arnom. Yn y munudyn hwn, yr Hottentot a daniodd, a'r llew yntef a giliodd. Yr oedd hyn yn rhyfeddach genym, wrth ein bod, y bore drannoeth, yn medru olrhain ei waed y ffordd yr aeth; (prawf sicr ddarfod ei glwyfo ;) a thra anfynych y mae llew a glwyfir yn cilio, nes iddo yn gyntaf ddïal ei waed. Ond yr Arglwydd, yn ddïammau, a gauodd safn y llew hwn. Pan ddaethom adref, mynegwyd in', fod llew wedi dyfetha tri-ar-bymtheg o'n hychen.

Y pryd hyn cefais hanes am y Stephanos hwnnw, a fuasai yn ein trigfan wrth yr Afon Zak, ei fod wedi myned at lwyth o'r Hottentots basdarddaidd, a elwir Kraal Cornelius Kock, ac yno wedi gosod i fynu fel athraw a phrophwyd, gan seilio ei awdurdod mor gadarn ar goelgrefydd, nes bod ei air yn lle cyfraith gan y llwyth oll, a'r troseddau erchyllaf yn cael eu gwneuthur ganddo yn ddigosp. Y cyffion, neu gurfa annhrugarog, fyddai rhan pwy bynnag a ynganai ddim yn erbyn ei drais neu drachwant. Yr oedd ganddo deml wedi ei chodi, yn sefyll ar golofnau, ac allor ynddi, ar ba un yr offrymid aberthau. Yr oedd ganddo ddysgyblion dewisedig, y rhai, fel ef ei hun, a fyddent yn gorwedd mewn rhith-lewygfeydd am lawer o oriau; ac yna adroddent rithgennadwriaethau oddiwrth yr angel Gabriel, neu oddiwrth Dduw ei hun. Pan f'ai 'r twyllwr am borthi ei chwant, ei gybydd-dod, neu ei ddïal, yr oedd ei atteb o'r nef yn ei awdurdodi i gyflawni ei ddymuniad. Os byddai dim anfoddlonrwydd, neu anwresogrwydd, yn ymddangos yn ei

ddilynwŷr, yr oedd dïal Duw, ïe llosgiad yr holl fyd, yn ebrwydd yn cael ei fygwth. Ac yr oedd Cornelius Kock ei hun, blaenor y llwyth, a pherchen eiddo lawer, wedi cwbl ymroddi i ewyllys yr adyn yma. Yr oedd yn pregethu yn ein herbyn ninnau; ac yr oedd arnom ofn rhag i'w athrawiaeth, fel yr eiddo Mahomed, daenu ei heffeithiau gwenwynig yn mysg y Paganiaid o amgylch.

Ar ol ystyriaeth ddwys, ac ymgynghori â'm brodyr, mi a anturiais gychwyn, i geisio attal ei yrfa ddieflig: ac, am fod tebygoliaeth o berygl, mi a gymmerais ein holl ddynion arfog i'm canlyn. Stephanos yntef, wedi clywed am ein bwriad, oedd wedi galw cyfarfod o'i ddilynwŷr, lle yr oedd ganddo aml gennadwri o'r nef wedi ei dyfeisio; ac yna dywedodd mai hon oedd yr awr bwysig yr oedd galw arnynt i ddangos eu ffyddlondeb i Dduw a'i brophwyd: ond, os anffyddlonent, y dôi tân i lawr o'r nefoedd i'w dyfetha.

Ni a nesasom at y blaid; a'u llygaid oedd yn gwreichioni o gynddaredd. Dàeth Stephanos y'mlaen, ac a gynnygiodd im' ei law. Minnau wrthodâis; ond dymunais arno ddyfod gyd â mi tan gysgod pren, i ymresymu. Ein pobl ni ein dau a'n canlynasant. A'm Bibl yn fy llaw, mi a ddadleuais âg ef, ac nid heb gymmorth neillduol, dybygaf, tros bedair awr y'nghŷd. Ceisio sefyll yr oedd ef ar eiriau Joel, am weledigaethau a breuddwydion yn y dyddiau diweddaf; a llawer gair o'r Datguddiad a ddygpwyd y'mlaen ganddo. Fe'm galluogwyd i ddymchwelyd ei resymau, er mawr foddlonrwydd i'm pobl, y rhai a dystiasent iddynt gael goleu a bendith y dydd hwnnw, uwchlaw a gawsent o'r blaen.

Yr oedd Stephanos a'i ddilynwŷr twylledig heb eu hargyhoeddi; yn myned yn fwy gorwyllt; ac yn barod i ruthro arnaf: ond yr oedd fy arfogion gofalus o'm deutu. Yr adyn ei hun oedd yn rhoddi im' ddychymmyg am Flaenor Uffern. Ei lygaid oedd yn gwreichioni o ddig; ei dafod yn myned yn ddibaid; a'i ymgais oedd am gyfiawnhâu ei drawsweithredoedd trwy esamplau ysgrythyrol. Meddyliais bellach mai cymmwys oedd im' beri i'm pobl ymaflyd ynddo, fel drwg-weithredwr, eisoes tan ddedfryd y gyfraith, fel y caffai ei ddwyn i Dre 'r Cape i'w gospi. Fy ngorchymmyn a gyflawnwyd yn ebrwydd, ac fe'i daliwyd yn ei deml ei hun. Ei grib a dorrwyd mewn munudyn, ac fe ddeisyfodd arnaf, yn yr iaith Ffrengig (nad oedd y bobl yn ei deall) am ei ollwng yn rhydd, gan addaw, os câi hynny, adael y wlad. Attebais, y gwnawn, fe allai, ei ollwng, os gwelwn arwydd fod yn ddrwg ganddo am ei gam-

weddau; ac os rhoddai brawf o'i edifeirwch, trwy rwydd addef ei ddrygwaith ar gyhoedd.

Yn ebrwydd fe dorrodd allan mewn tôn grïo, gan addef wrth y bobl ddarfod iddo eu twyllo.........os aent y'mlaen yn ei lwybrau ef, yr aent yn sicr i uffern..........ac y dylent ddïolch i Dduw am anfon attynt rai yn dysgu 'r gwirionedd. Yr addefiad hwn a gafodd effaith ryfedd ar y lliaws: tyrrasant o'm deutu, dan ddïolch yn ddiffuant am a wnaethwn, a than fawr-lawenhâu am eu gwared o lyffetheiriau y fath dwyllwr gorthrymus. Hwy fynnent yn awr ei anfon ymaith yn noeth i'r anialdir; ond mi a'u hatteliais; a chefais iddo ymborth angenrheidiol, ac un i'w arwain i wlad y Namaquas, tu a glann y môr; lle y gallai daro wrth long a'i dygai 'n ol i Europe. Ond, ar y ffordd, fe'i hadnabuwyd gan un Mr. Engelbrecht, ffermwr, a swyddog yn y *Militia*: y gwr hwn a geisiodd ei ddal; ond wrth ymaflyd âg ef, cafodd godwm; a'r adyn a dynnodd ellyn oedd ganddo, ac a dorrodd wythen ei wddf. Ar ol hynny dïangodd at yr yspeilydd hwnnw, African, a enwyd eisoes; a chyd âg ef, yr wy 'n ofni, y mae efe etto yn gwib-grwydro yn yr anialdir.

Mi arosais ychydig ddyddiau ar ol hyn yn agos i'r Afon Fawr, gan bregethu 'r efengyl yn *Nghräal John Kock. O'r bore i'r nos yr oeddynt yn daer arnaf am addysg; ac yr oeddwn yn teimlo yn dra chysurus yn mysg y Boschemen truain hyn. Gadewais yma fy mrodyr, Anderson a Kramer; ac yr wy 'n hyderu eu bod yn fendith i'r bobl. Y mae eu Blaenor, ar ol hyn, wedi cael ei fedyddio, yn Nhre 'r Cape, gan Weinidog o Eglwys Loegr: ac y mae arwyddion da o ras cadwedigol ar amryw o honynt;.......fe allai, o ddoniau gweinidogaethol hefyd gan un neu ddau. Ond yr wyf yn dysgwyl hanes manylach gan ein brodyr, sydd etto yno.

---

*Dychweliad Mr. Kicherer at yr Afon Zak.*

AR ol bod wrth yr Afon Fawr y'nghylch deng mis, a gweled na roddai 'r tir yno gynnaliaeth i'n lliaws anifeiliaid, barnasom mai goreu oedd i ni ymwahanu. Dechreuasom symmud yn mis Mawrth, 1802. Cymmerasom gyfle i groesi 'r afon tra 'r oedd hi yn isel: ond ni's gallem

* Tref o fan fythod yw Kraal.

fyned trwy'r diffeithwch o'n blaen, heb gael gwlaw; am hynny gwnaethom fythod o gangau coed, i aros yma am dro. Gwael oeddwn, y pryd hyn, yn fy nghorph; a hynny, tybygwn, o eisiau bara; ac nid mwy cysurus oeddwn yn fy meddwl.

Rhai o'r Boschemen, o'r fro yn agos i'r Afon Zak, gan honni dymuniad am ein dyfodiad yn agos attynt, a ddywedasant yn gelwyddus wrthym, fod cryn lawer o wlaw wedi disgyn yn y diffeithdir: a, chan mai hynny yn unig a barai i ni allu myned trwyddo, ni a gychwynasom i'r daith. Ond cyn myned y'mhell, ni a wybuom ddarfod i'r Boschemen ein twyllo. Teithiasom hyd y trydydd dydd heb gael diferyn o ddwfr: a'n hanifeiliaid oedd yn dra chaled arnynt. Eu hedrychiad truanaidd a'u brefiad cwynfanus oedd fel pe buasent yn rhag-ddywedyd ein trengiad yn yr anial hwn. O'r diwedd cawsom bwll bychan, a allasai ein disychedu ni, ond nid ein hanifeiliaid: Yr oedd geneth ar yfed, pan gansuom, i'n gofid mawr, fod y Boschemen wedi ei wenwyno, wrth fod llawer o bennau nadroedd yn nofio ynddo. Medr y Boschemen eu hunain yfed dwfr o'r fath heb gael niweid: ond ereill, mae'n eu penfeddwi, ac yn eu lladd, oddieithr cael meddyginiaeth yn fuan. Mawr oedd ein cyfyngder; ac ni's gwyddem beth i'w wneuthur. Meddyliasom am alw'r bobl oll i gyd-weddïo; ond, ar ol dwys ystyriaeth, penderfynu wnaeth Mr. Scholtz a minnau ar gyd-ymbil wrth orsedd trugaredd, yn ein hangenoctyd presenol. Yr Arglwydd yn raslawn a'n gwrandawodd, ac, mewn ychydig oriau, fe barodd gawodydd i gwbl-dorri ein syched. Cyd-folianasom yr Arglwydd am y drugaredd; ac arosasom yno ddeuddydd i adfywio'r anifeiliaid.

Ar y bore yr oeddym yn meddwl myned y'mlaen, daeth un o'n buchod adref â saeth yn glynu yn ei hystlys; yr hyn oedd yn arwydd fod y Boschemen wedi dwyn rhan o'n hanifeiliaid. Eu harfer hwy, wrth ladratta, yw gyrru'r gwartheg mor gyflym ag y medront; a phan fo un yn blino, hwy a'i gwanant â saeth neu biccell; yna y mae'n trengi ar y ffordd, a'r yspeilwŷr a ddeuant drannoeth i gyrchu'r ysgerbwd. Fel hyn y gwnaethent â'r fuwch; ac yr oedd hi megis cennad i fynegi i ni yr hyn a ddygwyddasai. Mi a anfonais rai o'r Hottentots, âg arfau tân, i erlid ar ol y lladron: ac aethum fy hun y'mlaen efo gweddill y fintai. Drannoeth daeth ein pobl attom â thri-ar-ddeg a thrugain o'r ychen a'r buchod, allan o bedwar ugain a ddygesid oddiarnom. Yr oeddynt wedi cael hyn yn ol, trwy oddiweddyd yr yspeilwŷr: ond yr oedd dau o'n ceffylau wedi trengi gan feithder a blinder y daith.

Bellach mi a'u gadewais tan ofal Mr. Scholtz, ac a brysurais y'mlaen tu a thai y ffermwŷr cyntaf a gawn; a hynny mewn rhan o herwydd yr hiraeth cryf oedd arnaf am dammaid o fara, ar ol bod heb ei brofi am hanner blwyddyn. Mi a frysiais y'mlaen, heb fod ar y ffordd ond un noswaith yn ychwaneg. Yr oedd genyf un Cornelius, a dau ereill, y rhai goreu o'm pobl yn fy nghanlyn: a'u hymddiddanion ysprydol a hyfryd ar y daith oedd yn ei gwneuthur yn dra chysurus. O'r diwedd daethom i olwg tŷ y ffermwr cyntaf; a thra llawen oeddwn o'i weled. Gofynais, yn gyntaf dim, am ddarn o fara, ac a'i bwytëais yn ebrwydd gyd âg awydd mawr. Anhawdd yw dirnad y boddhâd oedd i mi, o brofi unwaith drachefn yr ymborth hwn, ar ol bod cyhyd hebddo. Yn fuan wed'yn daethum hyd yr hen drigfan ger llaw 'r Afon Zak; a llawen iawn oeddwn o gael troed drachefn ar y fan lle y dangosasai 'r Arglwydd im' gynnifer o ryfeddodau ei ras a'i ddaioni. Fy anwyl Cornelius yntef a dorrodd allan, "O, Syr, y fath amserau dedwydd a fwynhasom ni "yma gynt! Y bwth hwn, pe medrai siarad, a ddywedai am y myrdd o "eiriau grasol a lafarwyd ynddo; ac mor dda fu'r Arglwydd yma "wrthym ni, yr Hottentots truain!"

Gan fod cyfle yn awr yn ymgynnyg i mi fyned i'r Cape, mi ymeflais ynddo, am fy mod wedi bwriadu ffurfio cynnulleidfa reolaidd o Hottentots; tu ag at yr hyn yr oedd arnaf eisiau amryw bethau, ond yn enwedig dilladau. Ni ddygwyddodd dim tra hynod ar y ffordd: ond mi a bregethais, ar aml gyfle, i'r bobl oedd yn ymgasglu mewn amryw fannau fel o'r blaen; ac yr wyf yn hyderu fod yr Arglwydd "yn dwyn tystiolaeth i "air ei ras."

Pan gyrhaeddais Dre 'r Cape, mi a dderbyniais gan punt gan y Llywydd, Dundas, ac a'u rhoddais allan am ddilladau, ac angenrheidiau ereill, at wasanaeth ein trigfan. Yr oedd efe o'r blaen wedi eu haddaw; ac yr oeddwn hefyd wedi cael o'r blaen y cynnyg o Eglwys Rodezand, lle agos i'r Cape; yr hyn yn awr a adnewyddwyd. Ond, er mwyn fy mhobl druain wrth yr Afon Zak, meddyliais mai fy nyledswydd oedd ei gwrthod.

Mi a brysurais fy ngorchwylion, i gael brysio yn ol i'm trigfan yn yr anial; mynegais i'm pobl fy mod, er eu mwyn, wedi gwrthod bywioliaeth dda yn Rodezand, ac addewais na wnawn byth eu gadael, os gwnaent hwy ond bod yn weithgar a diwyd. Ond dywedais wrthynt, os gofidient fi drachefn, fel y gwnaethent, trwy eu seguryd, y gadäwn i hwynt, ac y cymmerwn y cynnyg o Eglwys Rodezand. Hwythau yn rhwydd a addawsant y gwnaent bob peth yn ol fy archiad a'm dymuniad. Ar hyn mi a ym-

osodais at godi adeilad fwy cyfaddas, yn Eglwys: ac yn hynny yr oedd y ffermwŷr yn rhoi benthyg dwylaw dau gaeth-was, un yn saer coed, a'r llall yn saer cerrig. Yr Hottentots ar y cyntaf a roisant eu dwylaw wrth y gwaith; ond eu *tymmer ddïoglyd a wnaeth iddynt flino 'n fuan. Yna minnau a ddywedais drachefn wrthynt, y gadäwn i hwynt yn sicr, yn mhen wyth niwrnod, oni wellhäent mewn diwydrwydd. Ni's medraf feddwl am yr hyn a ganlynodd, heb ymgynhyrfu. Dechreuasant wylo, ac ymbil arnaf mor daer, nes oedd fy nghalon yn toddi: minnau addewais wrthynt na thröwn mo fy nghefn arnynt. Y llawenydd a barodd yr addewid hon oedd tu hwnt i fesur. Llawer o honynt a roisant eu dwylaw am fy ngwddf; a rhaid oedd im' goelio fod eu cariad attaf yn fwy nag y meddyliaswn. Yn y cysswllt hwn o amser daeth Clochydd Eglwys Rodezand i'n trigle, â gwahoddiad drachefn i mi yno. Pe daethai efe wyth niwrnod yn gynt, ni 's gwn i beth a wnaethwn: ond yn awr ofer oedd ei lafur. Yn hyn gwelais fŷs Duw yn eglur.

Yn y deng mis hyn y bum wrth Afon Zak, mi a luniais yno drigfan reolaidd; a Mr. Scholtz oedd yn dra chynnorthwyol. Llygeidyn o dir ydyw ar esgyniad, mewn dyffryn, a mynyddoedd tra llymion o'i gwmpas. Yr afon, yn y tymmor sych, nid yw ond aber fechan, yn disgyn i Afon y Pysg; a honno, fel y tybir, yn cael ei llyngcu mewn gwastattir, yn agos i'r mynyddoedd. Y mae yn y ddwy lawnder o bysgod da; ond nid yw 'r Hottentots yn hoffi mo'nynt: nid oes dim ond cig defaid, gwyllt-filod, ŷd yr India, a llaeth yn boddio eu harchwaeth hwynt.

Heblaw ein Heglwys, a gynnwys ŵyth gant o bobl, y mae genym dŷ annedd da, o gerrig. Y mae genym ffynnon yn agos i'n drws, sy 'n rhoi dwfr i ni a'n hanifeiliaid; a gardd dda, â mur o'i chwmpas; heblaw un fwy, i'n llysiau sy'n llai tyner. O flaen ein tŷ, y mae 'r Hottentots bedyddiedig wedi codi iddynt eu hunain anneddau gweddus: ac wrth gefn y mae y rhai di-fedydd yn byw mewn bythod mân. Y mae genym hefyd fuarth i'r anifeiliaid, â gwâl uchel o'i amgylch: a thu draw i'r afon, sy o ddeutu tri chwarter milltir oddiwrthym, y mae genym bump o faesydd ŷd; lle y mae ŷd yr India, yn enwedig, yn cnydio yn dda ragorol. Y mae 'r gwres yn fawr, yn y dydd; ac oerni y nos yn llym iawn. Yn y

---

* Dywedodd Mr. Kicherer wrth gyfeillion yn Llundain, mai peth mawr oedd ei fod yn medru cael gan y bobl hyn weithio dwy awr o'r dydd; ond ei fod yn gobeithio y dont yn raddol i weithio am dair awr neu bedair: ac o'r diwedd i debygu i Grist'nogion mewn diwydrwydd a bywiogrwydd.

gauaf y mae sych-rew llym yn fynych yn dra niweidiol i'r llysiau. Nid oes yno ddim eira yn sefyll, er fod eira ar y mynyddoedd pell dros ran fawr o'r flwyddyn. Yn misoedd yr haf, sef o Ionawr i Ebrill, ni a fyddwn yn cael gwlawogydd trymion, a tharanau a mellt arswydus, sy weithiau yn ddinystriol, i anifeiliaid, ac i ddynion. Ychydig laswellt sydd yn tyfu; ond y mae'r anifeiliaid yn pori brigau'r mân-goed. Y mae hin annhymmoraidd, yn yr haf neu'r gauaf, yn fynych yn peri tymmorau anffrwythlon. Yn y tymmor sych, y mae ein gardd lysiau yn gofyn ei dyfrhau bob dydd. Yn fyr, trwy lawer o anhawsderau y'n galluogwyd i ffurfio hyn o drigfan yn y wlad anolygus hon: ac, er nad yw'r dechreuad ond bychan, yr wy'n hyderu y gwneir, trwy fendith Duw, lawer mwy, yn dymhorol ac yn ysprydol.

Bellach, gan adael heibio lawer o bethau cryn hynod, a ellid eu hadrodd am brofiadau a bucheddau amryw o'r bobl syml hyn, mi a chwanegaf ychydig allan o'm dydd-lyfr. Hydref y 3dd, 1802, mi a fedyddiais bedwar dyn a dwy wraig o'r Hottentots. Ar y dydd o'r blaen yr oeddynt wedi gwneuthur Cyffes foddlonawl o'n Credo Calfinistaidd, gan ddangos eu bod wedi eu hiawn-seilio yn mhur air Duw, a'u bod wedi cael cysur sylweddol yn y gwirionedd, a hyder arno i wynebu 'r byd trragywyddol; gan dystio hefyd eu bod yn dymuno, trwy eu rhodiad a'u hymarweddiad, fynegi rhinweddau Iesu Grist, yn yr hwn y credasent, gan fwriadu byw, o hyn i allan, nid i bechod, ond iddo ef. Yn yr amryw foddion gras oedd genym ar hyd y diwrnod hwnnw, yr oedd presenoldeb Duw yn amlwg yn ein plith; effeithiau dwysion ar y gynnulleidfa; a llawer yn cael eu llenwi, ac yn torri allan, o gariad a gorfoledd. Ac am danaf finnau, rhy anhawdd im' adrodd fy nheimladau: ni's medrwn ond wylo, a thorri hanner geiriau o gariad a mawl, wrth ystyried yr hyn a wnaethai Duw yn mysg y trueiniaid hyn, trwof fi, ei was anfuddiol; a'r modd yr oedd fy llygaid yn cael gweled yr hyn a fuaswn, gyd a chymmaint hiraeth, yn mynych ymbil am dano. Yn yr hwyr, hyfryd oedd gweled y bobl, megis ar Sabbothau ereill, yn ymwahanu yma a thraw, i weddio a myfyrio am yr hyn a glywsent ac a fwynhasent. Yr wyf yn yn rhoi 'r esampl iddynt, ac y maent yn ei chanlyn. Pa le bynnag yr elwyf, yr wyf yn cael rhyw rai mewn myfyrdod ar eu pennau eu hunain, neu ynte yn y llwyni, neu holltau 'r creigiau, yn tywallt eu heneidiau mewn gweddi.

Ar ddydd yr Arglwydd nid oes dim gorchwyl bydol yn cael ei ddwyn y'mlaen; y mae 'r holl amser, o'r bore i'r nos, yn cael ei dreulio ar ym-

atferiadau crefyddol, cyhoeddus neu neillduol. Nid oes dim bwyd yn cael ei barotôi hyd ar ol y gwasanaeth cyhoedd olaf. Nid yw'r bobl ond ar un gorchwyl y diwrnod hwnnw; a hynny yw gwasanaeth Duw.

Dydd Nadolig, 1802, bu genym drachefn Fedyddiad; ac yr oedd nifer o Grist'nogion, a Phaganiaid hefyd, wedi dyfod y'nghŷd, o amryw barthau, i weled y gwasanaeth, a mwynhâu rhan o'n breintiau. Y dydd o'r blaen, yr holl rai mewn oedran, ac oedd i gael eu bedyddio, sef pedwar dyn a deuddeg o ferched, a wnaethant eu cyffes ffydd; wrth yr hyn yr oedd llawer o Grist'nogion yn synnu ac yn ymgywilyddio. Ar ol hyn gofynwyd amryw *gwestiynau* i'r plant, y rhai a attebasant yn dda ragorol. Yn mysg ereill, un eneth, rhwng ŵyth a naw oed, a areithiodd yn ddeallus am hanner awr. Y gyffes gan bawb o honynt a barhäodd ŵyth awr a hanner. Trannoeth a fu'n ddydd tra hyfryd. Y bore mi a bregethais ar Rhuf. v. 1, 2. ac yn yr hwyr ar Rhuf. viii. 1, 2. Ar ol y bregeth foreuol y bedyddiwyd y rhai mewn oedran yn gyntaf, a'r plant ar ol hynny; y nifer oll yn dri a deugain. Yn y prydnawn eisteddasom wrth gariad-wledd; ac wed'yn wrth y Cymmun sanctaidd. Amser da ydoedd arnom ni, a'n cyfeillion newydd oedd yn cyfranogi gyd â ni. Yr oeddwn yn dra lluddedig; ond yr Arglwydd a'm nerthodd.

Nid oeddwn yn meddwl bedyddio neb yn chwaneg, hyd nes y dychwelwn o Europe; oblegid yr oedd gwaeledd fy iechyd, achosion tymmorol o bwys, a dymuniad am gael cydymgynghori â Chyfarwyddwŷr y Gymdeithas Genhadawl yn Llundain, yn awr yn fy nghyd-alw yno. Ond llawer o'r bobl oedd yn dyfod attaf beunydd, gan daer-ddymuno derbyn yr arwydd hwn o'r Cyfammod, am eu bod, fel y dywedent, yn dymuno bod yn weision i'r Iesu, ac heb weled un ffordd arall i ddiangc rhag y llid a fydd, ond trwy ei iawn a'i aberth ef. Felly, wedi dewis y rhai oedd yn ymddangos i mi yn fwyaf cymmwys i dderbyn y sêl yma o'r cyfammod, mi a fedyddiais (Ionawr y 15fed, 1803) dri dyn, saith o wragedd, a phedwar-ar-hugain o'u plant. Felly mi a adewais, yn y drigfan honno, wrth Afon Zak, dri a phedwar ugain o'r cenhedloedd wedi eu bedyddio. Y cwbl o'r nifer sydd yno ydynt o ddeutu chwe chant.

Yn y flwyddyn 1802, daeth fy mrodyr, Kock ac Anderson, i ymweled â mi. Y mae'r cyntaf yn llafurio yn mysg y Bootsuanniaid; a'r llall lle y gadawswn ef, wrth yr Afon Fawr; ac y mae gwaith yr Arglwydd yn llwyddo trwy bob un o'r ddau.

Ionawr yr 17, 1803, mi a ymadewais â'm hanwyl bobl, ac a ddaethum i Dre'r Cape, i gymmeryd môrdaith i Europe. Serchiadol alarus

oedd ein hymadawiad! y bobl druain oeddynt yn wylo yn chwerw, yn gwasgu fy nwylaw, ac yn methu fy ngollwng—yn achwyn mai eu pechodau oedd yn eu difreinio—ac yn llefain na's medrent fyw, oddieithr i mi ddychwelyd attynt, Mi a addewais yn sicr ddychwelyd, os caniattâai Rhagluniaeth, y'mhen blwyddyn, neu ychydig yn rhagor. Gadewais hwynt dan ofal Mr. Botman, gwr duwiol, a fuasai 'n ffermwr yn y wlad; ond yr oedd efe wedi gwerthu ei eiddo, ac ymroddi i bregethu 'r efengyl. Ar ol bod mewn amryw beryglon a chaledfyd, yn y fôr-daith, trwy groes-wyntoedd, ac ail-ennyniad y rhyfel rhwng Holland a Lloegr, ni a gyrhaeddasom enau 'r Texel, Gorphenaf 16, ac yno buom agos i gael ein cymmeryd gan herw-long *(privateer)* o Loegr: ond yr Arglwydd a drefnodd ddiangfa; a'r llong yr oeddym ynddi, yn un o lawer yn cyd-gychwyn o'r Cape, yn unig a gyrhaeddodd dir Holland.

---

## BYR HANES Y'MHELLACH

am

# GENHADAU A'U SEFYLLFAOEDD

yn

## *AFFRICA DDEHEUOL,*

allan o

### LYTHYR-NODAU 'R GYMDEITHAS GENHADAWL, YN LLUNDAIN,

*Mai,* 1803.

Yn Nhre'r Cape y mae Mr. Manenberg, a anfonwyd allan o ddeutu tair blynedd yn ol, o Holland. Y mae efe yn Weinidog effro a llafurus, yn mysg Crist'nogion, a Phaganiaid hefyd, nifer mawr o ba rai sydd yn y Dref honno. Y mae ei zêl a'i ffyddlondeb wedi bod yn achlysur i gynhyrfu rhagfarn a llid rhai Crist'nogion mewn enw; etto y mae bendith neillduol yn dilyn ei lafur; lliaws mawr yn cyrchu tan ei weinidogaeth; a'r gair yn effeithiol er iechydwriaeth i lawer.

Ein sefyllfa Genhadawl nesaf sydd yn Stellenbosch, o ddeutu ugain milltir o'r Cape; ac yno y mae Mr. Bekker. Yr oedd efe wedi bod yn

byw yno gynt, ac anwybodaeth alaethus y Paganiaid wedi gwasgu 'n ddwys ar ei feddwl. Yn ganlynol, ar ei ddychweliad i Europe, cynnygiodd ei wasanaeth i'r Gymdeithas; a chafodd ei anfon allan ar unwaith â Mr. Manenberg a Mr. Verster: ac y mae'r llythyrau a dderbyniwyd oddiwrtho yn rhoi boddlonrwydd mawr. Y mae amryw o'r Paganiaid wedi llawen-gofleidio yr efengyl; ac y mae wedi agoryd Ysgol, i ba un y mae cryn nifer o blant yr Hottentots yn dyfod i gael eu haddysgu.

Y Gennad nesaf yw Bastian Tromp, gwr o Holland, wedi ei anfon allan genym ni, a Chymdeithas Genhadawl Rotterdam. Bu 'n llafurio yn Nhre'r Cape amryw fisoedd cyn i Mr. Manenberg gyrraedd yno i gymmeryd ei le: Wedi hyn symmudodd i le a elwir *Waggonmaker's Valley;* ac yn cafodd wrthwynebiad dwys gan rai sy'n dwyn enw Cristnogion, ond sy'n elynion i addysgiad y Paganiaid. Darfu iddynt nid yn unig enllibio'r achos Cenhadawl, ond anfon hefyd at y Llywodraethwyr yn Nhre'r Cape, i ddeisyf cael attal y Gennadwriaeth ac anfon Tromp ymaith, fel traws-ddenwr y bobl. Ond y Prif-lywydd, Dundas, oedd mor hyspys o wreiddyn y gwrthwynebiad hwn, ac mor wybodus o effeithiau da Crist'nogaeth, fel y 'sgrifenodd efe at Mr. Tromp, gan ei galonogi i aros yno, a'i sicrhâu o'i amddiffyniad. Felly, y mae efe yno yn dyfal-lafurio yn mysg Hottentots, Boschemen, a chaethion o Mozambique: ac y mae'n datgan ei obaith ei fod yn gweled arwyddion o waith yr Yspryd Glân ar rai o honynt.

Sefyllfa arall yw Gräaff Reinet, sy 'n agos i derfynau'r wlad tu a Chaffraria: ac yno y mae Mr. Vanderlingen yn gweinyddu i nifer fawr o Baganiaid. Yma y mae'r Gymdeithas Genhadawl yn berchenogion darn o dir, 2660 troedfedd o hyd, a 537 o lêd; rhodd y Swyddog Maynier, nawddwr a chynnorthwywr tra enwog i'r achos Cenhadawl.

Yn nesaf y mae'n addas i ni enwi ein cydwladwr, Mr. Anderson; yr hwn, y'nghŷd â Mr. Kramer; sy wedi cael gwahoddiad taer i addysgu amryw fân lwythau, yn agos i'r Afon Fawr. Pan ddaeth yr hanes diweddaf oddiwrthynt, nid oeddynt wedi bod ond chwe mis yn eu mysg; etto yr oedd cryn nifer o honynt wedi dechreu dysgu darllen; a'u hawydd mor gryf, fel yr oedd ychwaneg o gynnorthwy yn angenreidiol yn y ffordd hon: ac yr ydym yn gobeithio eu bod cyn hyn wedi cael hynny. Y mae'r Cenhadau hefyd yn gadarn eu meddyliau fod argraffiadau ysprydol ar rai o'r trueiniaid hyn.

Y mae dau wr arall, y gweddai i ni grybwyll am danynt yn hyn o hanes crefydd yn Affrica dywyll: Un yw Mr. Verster, gwr o Holland,

a ddanfonwyd allan gan y Gymdeithas Genhadawl yn Llundain, i gynnorthwyo'r Parchedig Mr. Vos yn Rodezand: ac y mae genym achos i feddwl ei fod o ddefnydd a bendith yn y fro honno. Y llall sy 'n un a anwyd yn Mozambique, a werthwyd yn gaeth-was, ac a ddygwyd i ardal y Cape. Rhagluniaeth a'i harweiniodd tan weinidogaeth ddeffröus Mr. Vos; a gras Duw a gymmerodd afael yn ei galon. Y mae ei ymddygiad wedi bod yn harddwch i'r efengyl er's llawer blwyddyn; a chan ei fod yn ddyn dwys, deallgar, ac yn teimlo dymuniad cryf am daenu 'r gwirionedd ar led, y mae 'r Gymdeithas wedi prynu ei ryddid, a'i roi i gael addysg addas, ar y bwriad iddo fyned, gyd â Chenhadau ereill, i wlad faith Mozambique. Yn y cyfamser y mae efe yn llafurio, gyd â mawr zel, i addysgu 'r Paganiaid sy yn Nhre 'r Cape.

Yr hwn sydd genym bellach i'w roi yn y rhif-res ardderchog, yw y Dr. Vanderkemp. Cristion o'r gwresocaf, a gweinidog tra llafurus; ie, gwr sy 'n ddiammau yn nesu at agwedd ac yspryd y prif efengylwyr. Yn ol y newyddion diweddaf oddiwrtho, y mae efe wedi gadael y sefyllfa yn Gräaff Reinet tan ofal Mr. Vanderlingen, ac wedi myned, ac o ddeutu wyth ugain o Hottentots gyd âg ef, i ffurfio trigfan newydd mewn lle a elwir Algöa Bay. Yma rhyngodd bodd i'r Arglwydd ei gadw ar wely cystudd, gan dwymyn a chryd cymmalau, am un mis ar ddeg. Yn yr yspaid hwnnw yr oedd ganddo gyfaill ffyddlon, Mr. Read, yn ymdrechu yn y gwaith. Wedi hynny, pan wnaed yr heddwch diweddaf, cafodd y wlad ei rhoi yn ol i'r Dutch; a milwyr Lloegr a dynnwyd o'r gymmydogaeth. Ar hyn darfu i haid o'r Hottentots barbaraidd ruthro ar y lle, gan feddwl eu lladd, a dwyn eu heiddo. Bu raid iddynt danio i'w hamddiffyn eu hunain; blaenor y dorf elynol a laddwyd; ac ar hynny y ffoisant.

Er yr helyntoedd gofidus hyn, yr oedd gwaith yr Arglwydd yn llwyddo. Yn Awst a Medi, 1803, yr oedd argyhoeddiadau am bechod yn cerdded trwy 'r bobl yn gyffredin, a chri dwys am eglurhâd o Grist; yn enwedig yn mysg y rhai ieuaingc. Y'mhell cyn dydd, byddent yn tynnu i'r coedydd; lle y gellid, ond nesu 'n ddistaw, eu clywed yn taerweddïo, &c.

Yn Mai, 1803, daeth y Llywydd newydd (tan y Dutch) Mr. Jansen, i edrych am danynt; ac a'u cynghorodd i adael y lle, gan addaw iddynt sefyllfa well. Mai 30, mae 'r Doctor yn 'sgrifenu, "Yr ydym heddyw "wedi cael meddiant o'r lle a ddewiswyd i ni gan y Llywydd Jansen, ac "wedi ei enwi, Pentref Bethel." Yr oedd gwaith Duw yn parhâu i

fyned y'mlaen yn Algöa Bay; ac y mae lle i obeithio y bydd Bethel yn drigle parhäol i Genhadau.

Dyma grynhöad byr o'r hanesion crefyddol a gafwyd yn ddiweddar o Ddeheudir Affrica. Oddiwrth y cyfan, y mae genym le i farnu fod yno lawer o filoedd, trwy ymdrech y Gymdeithas, a llafur y Cenhadau, yn cael clywed efengyl Crist; ac hefyd, fod llawer yn eu mysg wedi dyfod yn gyd-ddinasyddion â'r saint, ac yn deulu Duw. Y mae yno nifer fawr hefyd o rai ieuaingc yn cael addysg a fydd yn debygol i fod yn fuddiol iddynt hwy, a'u cydwladyddion, yn dymhorol ac yn ysprydol. Y mae yno alw taer am addysg; oes, gan lwythau na chlywsant erioed am enw Crist, hyd yn ddiweddar, ac na chlybuwyd am eu henwau hwythau erioed gan drigolion Europe. Ac y mae'n dda genym chwanegu hyn, ein bod yn dysgwyl y bydd chwech etto o Genhadau yn myned gyd â'n hanwyl frawd, Mr. Kicherer, pan elo efe yn ol i Affrica. Gweddïwn drostynt, a'u brodyr oll yn y filwriaeth a'r llafur Cenhadawl. Y maent, yr ydym yn hyderu, oddiar y dybenion puraf ac ardderchocaf, wedi gadael y cwbl a garent yn y byd hwn, i anturio i fysg cenhedloedd barbaraidd a diddysg. Y mae rhai o honynt wedi goddef pob eisiau; wedi bod, fel yr apostol, mewn marwolaethau yn fynych; yn mheryglon llif-ddyfroedd; yn mheryglon lladron; yn mheryglon gan y cenhedloedd, yn mheryglon yn yr anialwch: mewn llafur a lludded; mewn anhunedd yn fynych; mewn newyn a syched; mewn ymprydiau yn fynych; mewn anwyd a noethni. (2 Cor. xi.) Gyd â wyneb a bodd eu Harglwydd, boed iddynt weled yr hyn yn nesaf a ddymunant, sef, dychweliad llaweroedd o'r cenhedloedd atto.



## RHAI O'R CWESTIYNAU

a ofynwyd i'r

## *GWR A'R DDWY FERCH O'R HOTTENTOTS,*

### A FUANT YN DDIWEDDAR YN LLUNDAIN.

Cwest. Pa beth a wyddech chwi am Dduw, cyn i'r Cenhadau ddyfod i'ch mysg?

Atteb. Ni wyddem ni ddim am dano; ni wyddem ni ddim fod Duw yn bod.

C. Pa beth oedd eich meddwl y pryd hynny am danoch eich hunan?

A. Yr oeddwn yn meddwl fy hun fel anifail; a phan fyddwn farw, mai dyna ddiwedd am danaf.

C. Pa beth a ddysgasoch chwi wedi hyn am danoch eich hunan?

A. Mi a ddysgais mai crëadur truan a drwg ydwyf.

C. Pa fodd y gall y fath grëadur drwg a chwi gael cyfeillach â Duw?

A. Trwy waed Iesu Grist.

C. Ond pa'm y gwnâi gwaed Iesu Grist y tro, i'ch dwyn chwi i'r fath gyflwr?

A. Am mai appwyntiad y Tad oedd, fod iddo ef ddwyn ein pechodau ni; ac y mae wedi cyfodi addiwrth y meirw, i brofi fod ei farwolaeth yn dderbyniol: felly, fe fedr Duw faddeu ein holl bechodau er ei fwyn ef.

C. A ddarfu i chwi geisio Crist, neu a geisiodd efe chwi, yn gyntaf?

A. O! ni buaswn i byth yn ei geisio ef, oni buasai iddo ef fy ngheisio i.

C. A ydych chwi yn caru Iesu Grist?

A. O! ydwyf; ond nid hanner digon· Y mae arnaf eisiau ei garu 'n llawer mwy.

C. A ydyw pechod yn beth cas genych?

A. Ydyw, ac etto er hynny yr wyf fi yn pechu bob dydd.

C. A ydych chwi yn caru gorchymmynion Duw?

A. Ydwyf; yr wyf yn eu caru 'n fawr yn fy nghalon; ond y mae rhyw-beth o'm mewn yn fy nghadw i rhag eu gwneuthur fel y dymunwn· Y mae Iesu Grist wedi gwneuthur cymmaint trosof fi, fel y mae'n ddrwg genyf na allwn innau wneuthur mwy trosto yntef.

C. A ydych chwi yn ddïolchgar i'r Gymdeithas Genhadawl, am anfon Cenhadau attoch?

A. Yr wyf yn dymuno dïolch i Dduw am roi hynny yn eu calon; ac mi a dïolchwn iddynt hwythau hefyd, ond ni's gwn pa fodd, o eisiau geiriau.

C. A ydych chwi yn meddwl y cerydda Crist ei blant, pan y digiant ef; neu a fwria efe hwynt yn llwyr ymaith?

A. Eu ceryddu hwynt a wna efe; ond nid eu taflu ymaith. Efe, yr hwn a'm carodd i er tragywyddoldeb, a wyddai pa mor ddrwg a fyddwn: ond ni ddarfu i hynny rwystro iddo fy ngharu; ac y mae 'n anmhosibl iddo yn awr beidio fy ngharu.

C. A oes genych ddim i'w ddywedyd wrth y bobl annychweledig yn y gynnulleidfa hon?

A. Oes; mi a ddymunwn iddynt redeg yn uniawn at Iesu. O! trueni a fyddai, fod i rai sy'n clywed bob dydd am Grist, ei esgeuluso; ac iddynt ein gweled ni Baganiaid truain, sy wedi rhedeg at Grist, yn cael ein derbyn i'r nef; a hwythau eu hunain i gael eu gwthio i wared i uffern! O! trueni erchyll fyddai hynny.

---

RHAI O'R CWESTIYNAU A OFYNWYD IDDYNT MEWN LLE ARALL; A SYLWEDD ATTEBION POB UN AR WAHAN.

CWEST. A ydych chwi yn gobeithio etifeddu gwynfyd tragywyddol yn y nef?

MARTHA. Ydwyf, mor sicr a'm bod yn sefyll yma. Yr wyf yn hyderu fod Iesu Grist wedi marw trosof fi; a'm bod yn gwybod hynny trwy fod Yspryd Crist yn awr yn gweithio yn fy nghalon: a Christ yw fy unig sylfaen. Mi a wn beth trwy brofiad, mor happus yw byw yn agos at Grist—mor happus cael Crist yn rhan. Yr wyf yn hyderu, nid yn unig ei fod yr awrhon yn rhan i mi, ond na oilwng efe mo'nof byth o'i afael: Y mae wedi rhoi ei law ar fy enaid; ac nid oes na Satan, na dim, dim arall, a dyn ei law ef ymaith! Yr wy'n rhoi fy hunan i Grist; efe fydd fy arweinydd hyd byth.

C. Pa fodd yr oeddych yn ymdeimlo, pan glywsoch yr efengyl gyntaf, ac y dechreuodd hi effeithio arnoch?

MARTHA. Nid oeddwn i ddim yn ei hoffi: Ysmala a dïofal oeddwn: "Pa beth," meddwn, "sy gan y gwr i ddywedyd wrthyf fi? Cristion "ydyw efe, a Hottentot wyf fi." Ar ol cael fy annog yn fynych gan Mr. Kicherer a Chenhadwr arall (John Cock) myned ymaith a wnawn i; ond aflonydd oeddwn. "Y mae Crist," meddwn, "yn y nef, a finnau "ar y ddaear; pa fodd y gall efe weithio ar fy nghalon i?" Ond ar ol llawer o ymryson yn erbyn gweddïo, a chael fy annog yn fynych i wneuthur prawf o weddïo ar Grist, mi a aethum ac a syrthïais i lawr yn y maes, ac a lefais, "O Arglwydd, y peth y mae dy was yn ei ddywedyd, "nid wyf fi yn ei gredu: O, dywed i mi os dy wir di ydyw."

C. A ydych chwi 'n awr yn cymmeryd pleser mewn gweddi ddirgel, ac yn darllen gair Duw?

MARY a attebodd i hyn, O! ydwyf; nid wyf fi byth mor happus a phan f'wyf yn medru dywedyd y cwbl wrth Dduw; yr hyn ni fedraf ei adrodd wrth ddyn. O flaen Duw byddaf yn medru tywallt fy holl

galon; ond nid yn Lloegr, fel yr oedd yn Affrica. Yno yr oeddwn yn cael myned i'r maes; ond yn Holland ac yma, O! yr wyf yn methu cael lle i fod gyd â Duw! Nid da genyf fod dyn yn clywed yr hyn a ddywedwn i wrth Dduw yn unig.

C. Pa fodd yr ydych yn teimlo tu ag at bobl Dduw, a thu ag at eich cydwladyddion sy heb eu dychwelyd?

MARY. Yr wyf yn caru pobl Dduw yn anwyl iawn: Yr wyf fi yn caru pob dyn; ond yn fwyaf pobl Dduw. Yr wyf fi yn teimlo undeb mawr â phobl Dduw, am fod genym un Prynwr, ac un Pen; a'n hachub trwy un gwaed. Yr wyf yn caru fy nghydwladwŷr sy heb eu dychwelyd; ond nid cymmaint a phobl Dduw.

C. Pa fodd y dangoswch chwi eich gofal tros eich cyd-bechaduriaid? a pha foddion a arferwch chwi tu ag at ddwyn eich perthynasau ac ereill i wybodaeth o Grist?

I hyn attebodd JOHN. Mi ddywedaf wrthynt, fy mod wedi clywed yr un ffordd yma, ag oedd Mr. Kicherer yn pregethu yno; fod pobl Dduw yma; ac yntef, o'r un meddwl a'u gilydd; ac mor ddedwydd, fod genym yr un Crist i fyned atto i gael ein hachub.

C. Pa fodd yr ydych yn dysgwyl cael eich cynnal yn awr ddwys marwolaeth?

JOHN. Yr wyf fi yn hynny fel hyn ac fel arall: Weithiau y mae arnaf eisiau marw; byddaf yn meddwl na fedr angau wneuthur dim ond fy nwyn i'r nefoedd. Ond weithiau, wrth edrych arnaf fy hun, y fath bechadur mawr ydwyf, yna mae 'n anghysurus meddwl am farw. Byddaf yn meddwl yn fynych, O! pe byddwn yn sicr yn Nghrist, ac yn gwybod fy mod yn gadwedig, yna da fyddai marw. A phan fyddaf yn agos at Grist, nid yw angau ddim fel angau; ond fel drws i'r nef.

Yna MARTHA a ymadroddodd i'r perwyl yma. Yr wyf yn gobeithio fod yma lawer yn tosturio wrthynt eu hunain, ac wrth ereill hefyd—wrth eu henaid eu hun, ac enaid ereill: Yr wyf yn dymuno pe b'ai pawb; ond fe allai nad ydyw pawb ddim; fe allai fod yma rai heb fod yn tosturio wrth enaid ei hun. O! na chym'rent gyngor gan Hottentot dlawd! Ond yr Arglwydd Iesu a ddangoso dosturi attynt. Gwelwch, oddiwrth y fath bobl a Hottentots tlodion;—gwelwch, os yw 'r fath yma, pan ddelont at Iesu Grist, yn cael eu hachub, efe a'ch achub chwithau hefyd, pan ddeloch fel pechadur tlawd. Os ni wyddoch pa ffordd i ddyfod fel pechadur tlawd, fe wna Crist eich dysgu, os ceisiwch, ac heb oedi tan y fory. Yr ydym i gyd yma heno; ond fe allai y tro olaf i rai glywed yr efengyl anwyl,

Nid oes un math o bobl yn dyfod at Grist, nad yw Crist yn eu hachub, pan geisiont eu hachub: nid yw Crist un amser yn dywedyd, "Nid achubaf fi mo'nynt."————Dyma ran o'i geiriau,'eb Mr. Kicherer,* ond nid mor dda ag y dywedodd hi.

Mary. O! mor drist ydyw, fod Crist wedi tywallt ei waed, os ni ddaw pechaduriaid atto. Pawb oll a'r a ddeuant atto ef, a gânt gyfiawnder ynddo ef, pan y deuant: cânt weled digon yn ei waed i'w hachub. Ond fe fydd yr efengyl anwyl yn tystiolaethu yn erbyn dynion yn y dydd olaf—yr un efengyl—yr un gair ag y mae ynddynt bob peth rheidiol i bechadur. Am hynny, os awn ni i uffern, ein bai ni ein hunain ydyw, ond nid bai Duw. Y mae efe wedi rhoi ei efengyl i achub pechadur, a helpio pob rhyw ddynion. Ac yr wyf yn gobeithio, am fod yma rai sy 'n rhïeni, (yr wyf fi yn teimlo beth yw mam) yr wy 'n gobeithio y dygant blant at draed yr Iesu. Gan i Dduw roi i ni blant, gobeithio y dygwn ein plant i fynu, nid i'r byd, ond i Grist; ac nad awn trosom ein hunain yn unig at Grist, ond tros ein plant, a'u plant hwythau, fel yr achuber ni a'n plant hefyd. Yr wyf fi yn teimlo hyn ar fy nghalon; O! er i mi fyned fy hun i'r nef, beth os â fy mhlant i uffern! ——Y mae pobl yn dywedyd, "Ni wn i ddim a fu Crist farw *trosof fi:*", nid oes a wnelom ni â hynny; rhaid i ni fyned at Grist, ac yna cawn brofi y bydd iddo achub.

C. Pa rai yw'r pethau pennaf, sy 'n gwneuthur y nef yn ddymunol?

Martha. Hyn sy 'n ei gwneuthur yn ddymunol i mi: *Yn gyntaf*, Ni bydd dim pechod ynof mwyach; fy holl bechodau a ânt ymaith; nid da genyf mo bechod. *Yn nesaf*, Caf fod yn agos i'm Hiachawdwr anwyl; ac yna mi a'i gogoneddaf ef yn berffaith. *Heblaw hynny*, Yr wyf yn rhoi fy ngobaith y câf fod yn y nef gyd â 'mhlant anwyl, am fod yr Arglwydd wedi rhoi i mi weddïo cymmaint trostynt: a phan f'o efe yn rhoi i weddïo am ryw-beth, yna y mae hyder ynof y rhydd efe 'r peth. Y mae pwys fy ngweddi ar waed a chyfiawnder Iesu Grist; efe a ddywedodd, Y byddai efe nid yn unig yn Dduw i mi, ond yn Dduw i fy mhlant; ac yr wyf yn gobeithio y câf fi, a'm plant hefyd fod yn y nefoedd.

Mary drachefn á chwanegodd, Y mae Duw wedi dwyn Hottentots yma o wlad bell; a pha'm hynny? I ddangos i bobl, ei fod ef yn achub

---

* Dealled y darllenydd mai yn eu hiaith eu hunain yr oedd yr Hottentots yn siarad; a Mr. Kicherer (Dutchman) yn ei gyfieithu i'r Saesoneg yn y modd goreu y medrai.

pechadur, pechadur mawr, pechadur brwnt a budr,—na fedrai un dyn ei hoffi—na dim dynol-ryw ei ddyoddef. Pa ham hynny? Fel y gwelem fod yn rhaid i ni fyned at Grist,—fod yr Arglwydd yn achub y fath bechaduriaid;—ac i alw pobl oddiwrth y byd. Ië, etto, rhaid i ni farw; yr ydym yn gweled na fedr y byd wneuthur dim i druan enaid, pan fyddom yn marw: am hynny y dug yr Arglwydd Hottentot truan o wlad bell, i ddangos y gwna efe achub pechadur; ac i ddangos na fedr y byd, a'r cwbl sy ynddo, roi dim help: Yn yr awr honno rhaid cael Crist—yna y'n hachubir.——Yr wyf yn crefu ar y bobl yma, iddynt weddïo nid yn unig drostynt eu hunain, ond cofio hefyd yn garedig am yr Hottentots truain, ac am y Gymdeithas Genhadawl. Yr ydym yn gweled fod yr Arglwydd yn gwrando gweddi: am hynny gweddïo drostynt, am fod cynnifer heb adnabod yr Arglwydd Iesu Grist.——Ac yr wyf yn crefu, nid yn unig am weddïo drostynt, ond am i bawb arfer pob moddion a allont, i ddwyn y Paganiaid i wybodaeth o'r gwirionedd. Yr wyf yn hyderu y bendithia efe hynny: Ei waith ef ydyw. Dyma 'r peth olaf a ddywedaf: gobeithio y cawn gyfarfod yn y nef, a dywedyd mai da oedd bod yn y cyfarfod yma. O! arferwch foddion i achub Hottentots truain: a'r Arglwydd a fendithio 'r hyn a ddywed Hottentot druan.

Yna canasant SALM CXXX.

---

TRWY holl dalcithau gogleddol America y mae diwygiadau helaeth, grymus a pharhâol yn myned yn y blaen, y'mhlith yr amrywiol enwau; y Methodistiaid, y Presbyteriaid, y Bedyddwŷr, &c. Y mae llawer o filoedd wedi eu chwanegu at yr amrywiol eglwysi trwy y taleithau. mewn rhai manau, y mae 'r diwygiad yn fywiog iawn, a'r gweithrediadau yn aml ar feddyliau dynion mwyaf gwrthwynebus a gelyniaethol, yn ddi-symmwth ac yn anorchfygol. Nid anaml y bydd *deistiaid* cableddus, anghrediniol, yn myned i'r cyfarfodydd, i'r unig ddyben o erlid a chablu, yn y fan yn cael eu taro, eu hargyhoeddi, a'u gorchfygu gan ddysgleirdeb y gwirionedd, fel y byddant yn dychwelyd i'w cartrefi, gyd â golygiadau hollol wahanol ar y Bibl a phethau dwyfol, i'r rhai oedd ganddynt yn myned yno. Y mae'r hanesion diweddar oddi yno yn hyfryd ac yn ogoneddus.

---

YN yr India ddwyreiniol y mae amryw Genhadau yn llafurio yn llwyddiannus yn amrywiol barthau y gwledydd eang tywyll yno. Y

mae enw y diweddar Mr. Swartz, a'r parch mwyaf iddo gan lywiawdwŷr o thywysogion y gwledydd yr oedd yn llafurio ynddynt. Gwr o Germany ydoedd, a anfonwyd yno gan *Y Gymddeithas i daenu Gwybodaeth Grist'nogol.* Bu yn llafurus ac yn llwyddiannus iawn dros lawer o flynyddoedd. Derbyniodd y Gymdeithas lythyr oddiwrth Serfogee Maha, Rajah Tanjore, yn tystiolaethu ei barch mawr i Mr. Swartz, yn ei alw yn yn Dad, yn gyfaill, yn amddiffynwr a hyfforddwr ei ieuengctyd; ac yn dymuned arnynt anfon drosodd gôf-faen o fynor i'w osod wrth y golofn agos i'r areithfa y byddai Mr. Swartz yn pregethu ynddi. Y mae 'r gymdeithas wedi cydsynio a dymuniad y Rajah yn hyn. Y mae Mr. Gericke, yr hwn sydd yn olygwr ar y gwaith yno wedi marwolaeth Mr. Swartz,* yn rhoddi hanes gysurus am eu llwyddiant parhâus yn amryw barthau o'r wlad. Y mae yn pregethu yn ddyfal iddynt ddydd a nos. Y mae pentrefydd cyfein yn cyduno i daflu eu delwau, o'u temlau, a'u dryllio yn chwilfriw, ac yn troi temlau eu heilunod yn lleoedd o addoliad Crist'nogol. Y mae wedi bedyddio dros 2700 o'r Paganiaid. Yn mhlith ei ddysgyblion newyddion, y mae amryw o benaethiaid y wlad,

* Fe anwyd Mr. Swartz yn Germany, yn y flwyddyn 1726. Gorphenaf 17, 1750, y tiriodd i Madras, yn y 24 o'i oed, i bregethu i genhedloedd Indostan anchwiliadwy olud Crist. Fel y gallai fod yn fwy helaeth ddefnyddiol fe ddysgodd bedair o ieithoedd. Wedi llafurio yn yr India agos i haner cant o flynyddoedd, bu farw mewn tangnefedd heddychol, Chwefror 13, 1798.——Dros ei holl fywyd yr oedd ei lafur yn amrywiol ac yn ddifesur bob dydd. Pregethu amryw weithiau, cateceisio yn yr ysgolion, ac ymweled a'r cleifion, oeddynt ei waith beunyddiol. Pan oedd yn 68 o'i oed, yn ei ymweliad ag Eglwys Cudalore a Negapatnam, byddai yn pregethu yn gyffredin dair gwaith yn y dydd, yn y ieithoedd Saesoneg, Portuguese, a German. Iechydwriaeth rad trwy ras, trwy Grist, yr hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed ef, oedd testyn parhaus ei holl bregethau. Yr oedd yn wr mor enwog am ei dduwioldeb, ei ddoethineb, a'i uniondeb, trwy 'r holl wledydd, fel y rhoddai bawb eu cwbl ymddiried ynddo. Yr oedd ei air yn ddigon, y'mhob achos, gan bawb. Yr oedd y ffordd rhwng Trichinapally a Tanjore yn rhy beryglus i'w thrafaelu, gan ladron; ond, er pan ddaeth Mr. Swartz, i'r parthau hynny a phregethu yr efengyl i'r trigolion anwybodus, a sefydlu cynnulleidfaoedd Crist'nogol yn eu plith, ni chlywir son am ladradau. Yr oedd y fath hyder gan y Rajah, Talja Maha, ynddo, fel y gosododd ef, ar ei farwolaeth, yn olygwr ar y Rajah presenol, Serfogee. Mynodd y Rajah Serfogee ei weled yn ei saldra diweddaf; rhoddodd Mr. Swartz lawer o gyngorion syml iddo yn erbyn ymollwng i fwyniant moethau bydol; ac am iddo feddwl am ei enaid anfarwol; a bod yn dirion wrth y Crist'nogion; a darllen y Bibl yn aml. Dymunodd y Rajah weled ei gorph cyn ei gladdedigaeth, ac wylodd yn chwerw uwch ei ben, gyd a llawer o ddagrau.

ac yn dra ffyddlon yn achos yr efengyl. Y mae un o honynt yn teithio oddiamgylch y wlad i efengylu i'w gydwladyddion tywyll. Y mae Mr. Gericke yn cwyno yn drwm am chwaneg o lafurwŷr ffyddlon i'r cynhauaf sydd yn cynnyddu yn feunyddiol yn ei ddwylaw. Y mae ganddo rai cynnorthwywŷr yn y gwaith, Ysgol-feistraid, Cateceiswŷr, o brïodorion y wlad.



Y MAE Mr. Carey, Cenhadwr wedi ei anfon gan gorph y Bedyddwŷr yn Lloegr, wedi cyfieithu y Testament Newydd i'r Bengalaeg. Y mae hwn yn orchwyl o bwys nid bychan, ac yn debygol o fod yn fendithiol iawn i'r trueiniaid tywyll yno yn aros yn nhir a chysgod angau. Y mae yn hyspysu yn ei hanesion diweddar, i ddau cant o drigolion parth o'r wlad agos i Serampore, eilun-addolwŷr a Mahometaniaid, anfon i Serampore am Genhadau i'w hyfforddi yn y Grefydd Grist'nogol. Heb oedi, cyrchwyd attynt yn ol eu dymuniad, i'w haddysgu yn y gwirionedd dwyfol. Rhanasant yn eu plith amryw gopïau o'r Testament Newydd yn y Bengalaeg, eu hiaith brïodol eu hunain. Ymroisant i'w ddarllen gyd âg awyddfryd a manylrwydd, o'r dechreu i'r diwedd. Wedi iddynt ei chwilio yn fanwl, bu ganddynt gyfarfod i ystyried a oedd neu nad oedd mewn gwirionedd, o awdurdod ddwyfol: Cawsant foddlonrwydd am ei ddwyfoldeb: a chydunasant i ymwrthod â'u gau grefydd, a chymmeryd gair Duw yn rheol iddynt rhag-llaw. Dywed Mr. Carey eu bod wedi darllen y Testament Newydd gyd â'r fath astudrwydd manwl, fel y gallant gyfeirio gyd â pharodrwydd neillduol at un rhan o hono a grybwyllir iddynt. Y mae addoliad Crist'nogol wedi ei sefydlu yn eu plith, ac y mae yn hyfryd eu clywed, medd Mr. Carey, yn moli Duw y nefoedd, mewn Hymnau Bengalaeg, gyd â hyfrydwch a gorfoledd.



Y MAE'r hanesion diweddar a gafwyd o Ynys Ceylon, yn rhoddi hyspysrwydd gorfoleddus am lwyddiant yr efengyl yno. Y mae'r Llywodraethwr anrhydeddus, Frederic North, yn rhoddi pob annogaeth i bregethiad yr efengyl, a sefydliad Ysgolion Crist'nogol yn yr Ynys. Yn ol yr hanesion diweddaraf a chywiraf oddi yno, y mae yn ardal Jaffnapatam, o Grist'nogion Protestanaidd, 138896, 36 o Eglwysi, a 40 o Ysgolion. Y mae cwyno trwm oddi yno am Athrawon, Ysgolfeistraid, a Chateceistiaid. Y mae y gweinidogion y sydd yno, yn Ysgolheigion ac yn

Saeson, yn llafurio yn ddiwyd iawn, ac yn llwyddiannus. Y mae llawer o Baganiaid yn cael eu bedyddio bob blwyddyn. Gan fod y cynhauaf mor fawr, a'r gweithwŷr mor anaml.—A oes neb o'r Cymry a ymrydd yn ewyllysgar i ymgyssegru heddyw i'r Arglwydd?

YN y gwanwyn y flwyddyn, 1802, fe anfonodd y Gymdeithas Genhadawl yn Edinburgh, y Parchedig Henry Brunton a Mr. Paterson i ymgais am ffurfio Sefydliad Genhadawl yn Astrakhan, prif ddinas o Tartary yn Asia, neu yn ei chyffiniau. Y mae Astrakhan yn ddinas boblogaidd, ar lan yr Afon Wolga, a llawer o fasnach rhwng yr Europëaid, y Persiaid, a'r Tartariaid, yn cael ei wneuthur ynddi. Y mae yn sefyllfa hynod o gyfleus tu ag at daenu yr efengyl y'mhlith y Paganiaid, a'r Mahometaniaid. Fe aeth y gwyr uchod yno trwy Russia; a bu'r Ymerawdwr yn hynod o dirion wrthynt, ac a roddodd bob cynhorthwy iddynt. Aethant yn llwyddiannus i ben eu taith. Y mae Mr. Brunton mor hyderus am eu llwyddiant, fel yr anfonodd am ei wraig a'i deulu i ddyfod yno atto. Y mae yn gwaeddi yn uchel am chwaneg o Genhadon i ddyfod yno. Y maent wedi sefydlu eu hunain dan amddiffyniad Ymerawdwr Russia, yn ngwlad Circassia, yn agos i fynydd Caucasus, ar gyffiniau Turkey, Persia, a Tartary. Rhoddes Ymerawdwr Russia lythyr agored iddynt; at ei holl raglawiaid yn y gwledydd hynny; yn gorchymmyn iddynt, eu hamddiffyn a'u cynhorthwyo, y'mhob peth angenrheidiol; ac yn addaw ei hun, rhagllaw, i hwylio yn eu blaen eu bwriadau. Y mae Mr. Brunton wedi anfon trefn eu sefydliad i'r Ymerawdwr, ac y mae yntau wedi cyduno a'r cwbl. Eu bwriad blaenorol yw sefydlu Athrofa yno; a phwrcasu caeth-weision, y rhai sydd yn gyffredin yn y gwledydd hynny, o Cubane Tartariaid, a Circassiaid, a'u haddysgu yn egwyddorion Crist'nogrwydd; a derbyn pawb o'r bobl ryddion a ewyllysio sefydlu yn eu plith, i'r un dybenion. Y mae 'r Ymerawdwr wedi rhoddi iddynt ddarn helaeth o dir, i'w berchenogi a'i drin; ond y maent i fod, yn mhob peth, yn ddarostyngedig i gyfreithiau Russia. Y mae pawb ag sydd yn deall ansawdd y gwledydd hynny, yn addef fod y sefyllfa yn hynod o fanteisiol i ddybenion cenhadawl, a bod y cychwyniad, hyd yn hyn, yn neillduol, yn obeithlawn, ac yn llwyddiannus.

# HANES

am

# GYMDEITHAS A SEFYDLWYD YN LLUNDAIN,

*Mawrth* 7, 1804,

tu ag at

# DDOSPARTHU BIBLAU Y'MHLITH HOLL GENHEDLOEDD Y DDAEAR.

WRTH waith y Parch. T. CHARLES, yn ymorol yn Llundain, âg ewyllyswŷr da i grefydd a duwioldeb, pa fodd y gellid cael argraffiad helaeth o'r Bibl, am brîs gweddol, yn y iaith Gymraeg, ac, os byddai bosibl, i drefnu cyllidfa barhâus o honynt, fel na byddai un amser mwy brinder o Fiblau, i'r Cymry tlodion,—rhoddodd yr Arglwydd y meddwl caruaidd ardderchog y'nghalonau rhai o'r gwŷr duwiol yr oedd yn ymddiddan â hwynt, o ffurfio Cymdeithas i ddosparthu Biblau, nid yn unig yn ein gwlad ein hunain, ond, hefyd, yn y gwledydd pellenig tramor, pa un bynnag ai Crist'nogol, Mahometanaidd, neu Baganaidd; fel na byddai un genedl dan y nefoedd, nag un person neillduol, yn y byd heb y trysor gwerthfawr hwn, a ewyllysiai ei feddiannu. Yn yr olwg gyntaf, ymddangosodd y peth, er mor ddymunol, etto, o'r cyfryw faintioli nad oedd gwiw agos, meddwl am dano, i'r dyben i'w gwblhâu. Ond, trwy law Duw arnynt, fe bwysodd yr achos tra gogoneddus hwn, gyd â'r cyfryw ddwysder, yn barhâus, a'r feddyliau rhai gwŷr duwiol urddasol, y buwyd yn ymddiddan â hwynt, fel y gorfu arnynt ymwroli i ymgais am ei ddwyn y'mlaen, yn wyneb pob digalondid. Cyfarfu amryw o honynt â'u gilydd, i ystyried yr achos: yn y cyfarfod cyntaf, (yr oedd T. C. yn bresenol) wrth ymddiddan am fawredd bendithiol, a dymunoldeb y cyfryw sefydliad, effeithiodd y golygiadau ar hynny, yn y fath fodd ar eu meddyliau, fel y darfu iddynt gyd-dywallt dagrau o orfoledd, yn y gobaith o lwyddo ynddo. 'Sgrifenodd un o honynt lyfran, i ddangos yr anghenrheidrwydd o'r cyfryw gymdeithas, ac i annog Crist'nogion o bob enw i ymuno i'w sefydlu; dosparthwyd hwnw y'mhlith pawb, adnabyddus

iddynt, a farnent yn debygol o fod yn gynhorthwy i'r gwaith. O'r diwedd, penderfynwyd i alw cyfarfod cyffredin i ystyried yr achos. Cyhoeddwyd, yn y papurau newyddion, y byddai y cyfryw gyfarfod i gael ei gynnal yn y *London Tavern*, Mawrth 7, 1804. Ar yr amser gosodedig, cyfarfuant â'u gilydd, dros dri chant o Eglwyswŷr, Ymneillduwŷr, o amrywiol enwau, Methodistiaid, a Chwaceriaid. Rhoddwyd y gwr urddasol, dysgedig a duwiol, GRENVILLE SHARP, Yswain, yn y gadair. Wedi amryw ymddiddanion ac areithiau, dros ddwy awr, ar yr achos pwysfawr, a gogoneddus o'u cynhulliad, at eu gilydd, penderfynwyd âg un llais, gyd â gorfoledd, nid bychan, i sefydlu Cymdeithas dan yr enw,

BRITISH AND FOREIGN BIBLE SOCIETY.

Yn y fan, rhoisant eu henwau i lawr, ac addawyd dros Saith Cant o Bunau, mewn ychydig o funudau, tu ag at gario y gwaith y'mlaen. Gosodwyd un-ar-bymtheg ar hugain i fod yn eisteddfod o DDIRPRWYWYR *(Committee)* dros y flwyddyn: dewiswyd TRYSORWR; dau YSGRIFENYDD; un dros yr Eglwyswŷr, a'r llall dros yr Ymneillduwŷr; a dau DAN-YSGRIFENYDDION. Y mae'r Gymdeithas yn cynnyddu yn feunyddiol, tu hwnt i bob dysgwyliad. Y mae amryw o'r Esgobion, a gwŷr mawrion, wedi rhoddi eu henwau, ac addewidion o gynhorthwy. Y mae Arglwydd TEIGUMOUTH wedi ei osod, trwy ei gydsyniad, i fod yn OREISTEDDWR y Gymdeithas.

Er pan sefydlwyd y Gymdeithas, y mae 'r eisteddfod o DDIRPRWYWYR, yn cyfarfod yn aml, ac yn dra bywiog a gweithgar, i gario dybenion y gymdeithas i effeithioldeb. Y gorchwyl cyntaf dan eu hystyriaethau, yw argraffiad bychan deuddeg plyg o Feiblau a Thestamentau Cymreig. Y maent yn bwriadu eu hargraffu ar papur da *(good Demy)* â llythyrenau da newyddion *(Nonpareil type)* i'w gwerthu heb eu rhwymo, y Biblau am Ddau Swllt, a'r Testamentau am Saith Ceiniog. Nid oes un attalfa ar y gwaith i fyned y'mlaen, ond, yn unig cael hyspysrwydd, pa nifer o honynt, a ellid eu dosparthu yn Neheudir a Gogledd Cymru, mewn yspaid pedair neu bum mlynedd: Byddai T. C. yn dra diolchgar am bob hyfforddiad ar y pen hwn.—Y mae yn resynus meddwl, fod un dyn yn ein gwlad heb feddu Bibl ac heb fedru ei ddarllen. Esgeulusdra a diofalwch cywilyddus, a phechadurus iawn, yw 'r achos o hyn. Penderfynwyd ar argraffiad o Feiblau bychein, am fod lluoedd nifeiriol o bobl ieuengc wedi ac yn dysgu darllen yn yr Ysgolion Sabbothol, yn gwaeddi am danynt. Diammeu, wedi dosparthu yr argraffiad hwn o Feiblau bychein, y gellir cael argraffiad arall, o Feiblau

mwy eu maintioli, os bydd galw am danynt. Fel hyn, ni a welwn, fod tiriondeb trugaredd Duw, wedi darparu, trwy ffordd annysgwyliadwy iawn, modd i ni, a miloedd dirifedi o genhedloedd tywyll y ddaear, trwy ei barhâus fendith ar ymdrechiadau y Gymdeithas, i gael Biblau dros oesoedd a chenhedlaethau. Dianged pawb rhag melldith Meroz, trwy ddyfod allan yn gynhorthwy i'r Arglwydd, yn y gorchwyl tra phwysfawr hwn. Cydunwn mewn dyfal weddïau am fendith Duw, ar bob ymdrechiadau i wasgaru y tywyllwch tew, sydd yn aros hyd heddyw ar genhedloedd lawer, nes y byddo y " ddaear yn llawn o wybodaeth yr Arglwydd." Pa ddefnydd gwell a allwn wneuthur â'n meddiannau, na thrwy eu cyssegru i'r Arglwydd, mewn rhoddion ewyllysgar, tu ag at gario ei waith mawr, yn iechydwriaeth eneidiau, y'mlaen yn y byd? Ein braint oruchel yw " treulio ac ymdreulio," yn yr achos hwn. Llawer o gwyno sydd gan y Cymdeithasau Cenhadawl, am brinder Cenhadon ffyddlon, yn ymgyssegru i'r Arglwydd, yn achos y cenhedloedd tywyll. Er bod amryw o ddynion ieuaingc duwiol, a rhai o honynt yn enwog o ran dysgeidiaeth a'u sefyllfäoedd yn y byd o lawer o wledydd Europe, o Loegr, Ysgotland, Holland, Denmark, Germany, wedi cyssegru eu hunain, yn hollol i'r Arglwydd, yn y gorchwyl hwn; etto, ni chafwyd ond dau, o blith yr holl filoedd o broffeswŷr sydd yn Nghymru, ag a gyfrannogodd o yspryd cenhadawl y dyddiau hyn. Y mae un o'r ddau, sef, JOHN DAVIES, yn fyw yn bresenol, yn ol hanesion diweddar, ac yn llenwi ei le yn hardd ac yn ddefnyddiol, fel Cenhadwr yn Otaheite. A gaf fi ofyn, i'm brodyr o bob enw, dros yr Arglwydd, a thros y cenhedloedd truein y rhai a ddifethir o eisiau gwybodaeth—" Pwy hefyd a ymrydd yn ewyllysgar i " ymgyssegru heddyw i'r Arglwydd?"

" A'I GLOD LLENWIR Y DDAEAREN.
" AMEN, AMEN, HYN FYDDO."




Argraffwyd gan Jones & Co. Bala.....1804.

William Williams

# AWDLAU

AR

*DESTYNAU*

CYMDEITHAS Y GWYNEDDIGION

I'R

EISTEDDFODAU

YN B. A. 1789, 1790, 1791.

SEF

*YSTYRIAETH AR OES DYN,*
*RHYDDID,*
*A GWIRIONEDD.*

Thomas, David

GAN

*DAFYDD DDU O'R ERYRI.*

*Heb Awen baich yw Bywyd,*
*A'i rhodd yw rhyngu bodd byd.*

GRO. OWAIN.

ARGRAPHWYD YN LLUNDAIN GAN T. RICKABY:
Ac ar werth gan E. a T. WILLIAMS, Strand; I. DANIEL, Caerfyrddin; I. EVANS, Machynllaith; T. SANDFORD, Amwythig; JOHN WILLIAMS, Do gelleu; MORYS DAFIES, Bala; JONATHAN HUGHES, Llangollen; Mr. RODEN, Dinbych; I. WILLIAMS, Llanelwy; Mrs. EVANS, Llanerchymedd; I. ROBYNS, Amlwch; I ROBERTS, Caergybi.

1791.

William Williams's Book

AT

# GARWYR BARDDONIAETH GYMRAEG.

ANERCHION,

DIAMAU fod Teſtynau yr Awdlau canlynol yn deilwng o yſtyriaethau y rhan ddifrifol o ddynol ryw; ond ym mherthynas i haeddiant y cyfânſoddiadau, yr wyf yn cyfaddef yn ewyllyſgar nad oes rhagorgamp yn y byd yn perthyn iddynt, yn amgen na'r hyn à ſyniwyd arno gan Aelodau anrhydddus Gymdeithas y Gwyneddigion yn Llundain; ac ar eu hanogaeth hwynt yn bènaf y prydwyd ac y cyhoeddwyd yr unrhyw; yſgatfydd y rhoddant ryw gyfran o ddywenydd i ereill: o'r hyn lleiaf, yr wyf yn hyderu, na fyddant er niwaid i neb.

Bellach, nid oes gènyf ond anrhegu y rhan ymma o'm llafur-waith i ddwylaw fy anwyl gydwladwyr, gan ddifrifol obeithio y medant ddiddanwch ac adeiliadaeth oddiwrth yr unrhyw.

DAFYDD TOMAS.

*Waun-fawr gerllaw Caerynarfon*
*Calanmai* 1791.

# YSTYRIAETH AR OES DYN:*

## AWDL

### AR Y PEDWAR MESUR AR HUGAIN.

*All, all on earth is* ſhadow, *all beyond*
*Is* ſubſtance; *the reverſe is folly's* creed;
*How ſolid all where change ſhall be no more!*

YOUNG.

YSTYRIWN, bwriwn yn bêr—ein dyddiau
A'n diddym fyr amſer;†
Amryw wael-daith marwolder
Dyna ſydd o dan y ſêr!

Rhoed dyn i'w ſyddyn‡ a'i ſedd§—hyd einioes
I daenu clodforedd;
A gweini i ogonedd
Creawdr byd o'r cryd i'r bedd.

Clwyf

* Teſtyn Cymdeithas y Gwyneddigion i Eiſteddfod y Bala, yn y fl. 1789, ydoedd hwn.

† Felly, fal y dywedodd *Llygad Gwr*—
Anghall yw y dyn nid el ei gred
Ar y Gwr gorau à aned.

‡ Cartref, trigfan. § Gorſaf, eiſteddiad.

Clwyf trwm y codwm blin caeth—ddu ogwymp
A ddygodd farwolaeth;
Neud pechod a'i nôd à wnaeth
Eres gur yr esgariaeth!

Dyn gwamal, cynnal mewn co'—à ddylai,
Neu ddilys fyfyrio;
Fod hynt groes ei fèr-oes fo
Yn niwlen wyw anolo. *

Mae dyn, ail gwyfyn yw gwedd—ei fỳr-oes,
A'i fwriad ar wagedd; †
Yn dwyn hon dan anhunedd
Erioed o'i faboed i'w fedd.

Nid llym-flin, fflam-fin arf fflwch—i'r einioes
Yw 'r iawn ddïogelwch;
Teflir a lluchir i'r llwch
Bob arwr o'i bybyrwch!

Mal

* Iago iv. 14. † Gen. vi. 5.

Mal rhôs neu effros* yn nyffryn—isel
Yw oes frau ei therfyn;
Gofid, yn gynt na gwyfyn,
A dawdd wychder, dewrder, dyn!

Os daeth ystyriaeth oes dirion—yn lân
I lynu 'n y galon,
Tyner yw 'r firein-ber fron
Lwythog fyfyriol weithion.

Mae 'r oes, wan einioes, yn ail—ei thyfiad
I orhoff godiad rhyw ffug-adail;
Mal gwychion wyrddion irddail--mae'n edwi
Brau wedd at oesi—breuddwyd disail!†

Gwychion a gwaelion eu gwedd
Gwywedig ynt yn gydwedd:
O dŷ 'r bedd i dir y byw,
Sicr ydyw, na's cair adwedd.

O b'le

* Y Dorfagl, euphrasy.

† Mae y meddyliau hyn yn dwyn ar gof eiriau melysion yr Hen Lywarch à ganodd dan o thrymder ei aml flinderau;

Y ddeilen hon neus cynnired
Gwynt, gwae hi ei thynged:
Hi hen—Eleni ganed!

O b'le daw y blodeuyn ?
O'r Ddaear ; daear yw dyn :
Daear yw lle 'r blodeuyn—i'r ddaear,
Od efgar, y difgyn !

Swyn a bai y fy 'n y byd,
A hudoliaeth ffraeth yn ffrwd ;
Mawr flinder, yn drymder drud,
Ydyw 'n rhan o dan y rhod,
Gan ddolur, llafur, a llid ;
Hoywber oes heibio á red,
Einioes dyn fy' wan o 'ftâd.

Na fwriwn hynt fer ein hoes
Mewn balchder ac ofer gais ;
Dedwyddyd diwyd nid oes
Yn myd y triftyd á'r trais.

Tymmor byr tu ymma'r bedd
I ddynion, îs heul-gron fydd :
Nid cryfder a gwychder gwedd
A eftyn derfyn y dydd.

Dirfawr

Dirfawr derfyn
A ddaw i ddyn ;
Pa briddyn ? Pawb á roddir,
Yn flin, mewn deierin dir :
Pob gwr breich-drwm, gorthrwm gawr,
Ef i lawr, i lawr, á falurir.

Pawb á wyrant o'u pybyrwch,
Wycha' dewrnerth, a chadarnwch,
Tirionwch, at oer annedd :
Pob balch wr hoywfalch, o rhyfedd!—trythyll
A ddaw i 'ftefyll ei ddiftaw-fedd.

Dawngar einioes dyn gwyrenig*
Amfer ydyw mefuredig ;
I'w ddaearu e ddaw orig,†
Cau am y pwdr gorph cwympiedig.

Y mae y dynion mwya' doniol,
Llon o fwriad, oll yn farwol :
Ef á iawn weddai yn feunyddiol
I fwyn-weis dewr-wych fyw 'n yftyriol.

 O nos

* Blodeuog ; mewn nerth.

† Awr, awr fechan.

O nos du angau ni's diengir;
E drŷ y gloywdeg draw i gleidir;
Pen mawredd, dewredd ar dir—prif fonedd
O Dduw, o'u tudwedd* á ddattodir!

E dawdd ammodau diddymedig
Y gwifgi wiw-ddoeth a'r gofgeddig; †
E dry ei nodau dirwynedig:
Cyn hir fymudir fiomedig—ry frau
Dwrf ei wawdiadau darfodedig!

Cafglu ynghyd y byd enbydus,
A charu beiau, gwydau‡ gwawdus,
Dyna holl fwriad dyn llafurus,
Nes troi ei anian, naws truenus;
A chael dewr afael di rûs;—ar fwyniant
Gwiw erfai § lwyddiant gorfoleddus.

Y gwŷr llueddog ¶ o'r holl lwyddiant,
Moethau a gwinoedd, meth, ddigoniant,
I rym llaw angau 'r ymollyngant;
Er llawen-gerdd a'r lliw ewyngant, **

Tryforau

* Tiredd, bro, ardal. † Gweddus, hardd.
‡ Pechodau, beiau. § Difai, digwl, dianaf.
¶ Rhyfelgar. ** Gwyn, nen gàn; o liw yr ewyn.

Tryſorau gorau, ac ariant—gwerthiawg
Y ddaear foddawg á ddarfyddant.

Dynion ydym dan newidiau,
Tra enbydus trwy 'n bywydau;
Croes, einioes unig, cnawd gwawd gwywedig
Gweledig dreigliadau.*

Er cael heddwch,
A diddanwch
Dyddiau einioes,
Ar ei ymdaith
Un o ddylaith†
Ni ddaw eil-oes.

Gan

* Mae holl ddamweiniau dynion, er eu bod yn amlwg i Nefawl Ragluniaeth, mor ddieithr iddynt hwy, fal y gellir arfer y cyffelybiad hwn am danynt—

Ys mi yw'r bâd ſy mor bell,
Wedi 'r wthio ar draethell;
O damwain yd â ymmaith.
I'r dw'r, ac ni wyr ei daith.

BEDO AEDDREN.

† Angau, marwolaeth.

Gan laddiadau,
Terfyſgiadau,
Gwayw rwygiadau,
 Ac ergydion
Maé profiadau
Fod rhodiadau
Ein holl dadau
 Yn alldudion.

Priddyn o'r priddyn ;
I'r priddyn priddyn
 E dỳna dyn at oer-fedd ;
Daear o'r ddaear,
I'r ddaear daear ;
 Daear mewn daear dir* mae'n diwedd !

Pob dyn ſy 'n diſgyn i dir—iſelaidd,
 Ei ſylwedd dattodir ;
 Naws tw' einioes ni eſtynir,
 Er y glendid ar y glyndir,
 Un o'r bydoedd ni arbedir,
 Er goludoedd, o arw gleidir :

Ni

* Gwir, diamau.

Ni chaiff llinos dlos* ystlys-hir ddiflin
Fwyn iesin,† syw 'n oes-hir.

Er bod croesau, loesau anfelysion
Yma is yr haul i amserolion,
E gyrcha IESU gorwych ei weision
I heirdd ardaloedd, gwiw lysoedd glwysion:
Gwleddau, anneddau newyddion—á gânt,
Gwlad o ogoniant goleu-deg union.

Dedwydd ddydd á ddaw,
Gofid, llid gerllaw,
A dry yn hylaw dirion helynt;
Ni chawn, digllawn daith,
Glywed, gweled gwaith
Nych angau hir-faith, na chynghor-
fynt.‡

Y gwyr doeth, gywir deithi,§
Y'nghanol gwae, y'nghyni,
Derbyniant rhag dirboeni
Gyfodiad o'r gofidi:

Duw

* Felly y dylid arfer y gair am fenyw, a *thlws* am wrryw.
† Teg, glân, tirion, berth; felly *Taliesin* yw talcen teg.
‡ Cenfigen.
§ Cynneddfau, rhinweddau.

Duw á rydd ar daer weddi,
Adnewyddiad i'w noddi;
F' arwain y rhain i wir hedd,
At rinwedd o'u trueni.

I'r hael a'r rhydd
Y fael á fydd,
Diwael y dydd,
Duwiol daith;
Mor rhwydd mawrhawn
Ein llwydd yn llawn,
I'n ſwydd neſhawn,
Hoenus iaith:

Bywydolion byd á elwir,
A rhybuddir hwy i'r beddau;
Eu hamſeron hoyw meſurir,
Ow! diweddir hwy o'u dyddiau!

Adyſtyriwn, yn doſturiol,
Wyw naws hudol einioes hediad;
Ac eiddunwn, agwedd ddoniol,
Am wiw radol ymwarediad:

Caiff fforddolion,
Ufuddolion,
A Grasolion
Gywir seiliad:
Gwnair duwiolion
Yn drigolion
Anfarwolion.
Nef oreu-wlad.

Cair mawr, wiw dramawr odremydd,* ar wlad
Wir loywdeg dragywydd;
Oes anfarwol, fythol fydd,
Hoff ras hael, i'w phreswylydd!

Ba'nd cywir a gwir yw 'r geiriau,—y gwr
A garo gamlwybrau,
Gnawd fydd i'r dyn, briddyn brau,
Ofni ing afon angau.

Mae dilys, felys orfoledd—i'r gwr
A garo ffordd rhinwedd,
A gâr anian gwirionedd
Ni's ofna boen safn y bedd!

Os

* Cynneddfau; rhinweddau.

Os ydyw tymp arſwydol—anhunawg
Ein heinioes yn frèuol,
Oes arall anfeſurol
Dragywydd, newydd ſy'n ôl.

## AWDL AR RYDDID.*

O Liberty! thou Goddeſs heavenly bright.
ADDISON.

ARDDWYREA† 'r ddewr Awen,
A chyrch hyd yn entyrch nen;
Dyrcha fawl bywiawl o ben—yn ddilid
I RYDDID wawr addien.

Lluoedd, niferoedd anfarwawl—BODAU
Y byd mawr tragwyddawl,
Canant, emynant eu mawl
Am Ryddid ym waredawl.

Gwiw

* A ennillodd yr Ariandlws yn Llanelwy, 1790.
† Dyrcha, ymddyrcha, eſgyn di i fynu.

Gwiw Ryddid, yn y gwreiddyn,
Y'ngwaelod cydwybod dyn,
Mae 'n gysur hoyw-bur ei hawl
Cry' didawl i'r credadyn.

Mae Rhyddid ysbryd, pryd prïodol,
Praw' iawn o degwch prynedigol;
Dawn Dduw uchod ì'r dyn heddychol,
Cu wiwdeb ydyw cydwybodol:
Gwelid, nad Rhyddid treiddiol—i bechu
Yn groes i Iesu, Iôn grasusol.

A feddo 'r tangnefeddawl—wir heddwch,
A'r Rhyddid ysbrydawl;
I'w erbyn, ddyn diddanawl
Ni fydd Duw, ni faidd y diawl.

Hawddàmor heddyw ymma—i Ryddid
O rodd y Gorucha';
Llwydd i'r gynnes dduwies dda
Lath-arian, ELEUTHERIA. *



* Enw y dduwies Rhyddid yn y Gryw, neu'r iaith Roeg.

Neud hyſbys dengys y dydd—wawr heddwch,
Er hyddoeth lawenydd,
Cangen lawen olewydd
Yn ei llaw fangaw * à fydd.

Fy mwriad, a fy mawredd—fwyn awydd,
Fy newis anrhydedd,
Yw dadgan rhan o'i rhinwedd
Bob pryd o'm bywyd i'm bedd.

Neud† gwerthfawr, llwyddfawr ei llês,—hoff rinwedd,
Ffrwyno trais a gormes,
I ddynol ryw, ddoniol wrês,
Didwyll yw'r warcheidwades.

Hi wnaeth i lawgaeth wiw les—hoen eithaf,
Hi wnaeth i'r anghynnes,
Weled haul oleua' tês
A thirion fawrwyrth eres!

Dan

* Hylith, llawn parodrwydd, cyflym; o'r gair *Ban,* uchel, a *Caw,* peth a ddalio neu ymglymo ynghyd.

† Yn ddiau, neu, yn ddiamau, b'and.

Dan nef ei haddef lân hi—nôd gwiwdeg,
Nid yw gydwerth iddi
Darnau aur ein daear ni,
Neu arian yn aneiri'.

Er ei mwyn, hyfwyn yw hi,—yn ufudd
Y nofir y weilgi,
Caiff y mor, holl oror lli,
Drin ei gefig draw 'n gwyfi.

Ein haflwydd annedwydd ni,
Echryfawl, yw ei chroefi,
Caredig cywir ydi,
Neud cas yw ei hanras hi:
Mae rhediad ei mawrhydi
O fêl a llaeth, fal y lli;
Arwyrain * firain o fawl
Dragwyddawl á drig iddi.

Hi á amddiffyn ddyn, a'i feddiannau,
Hi á geidw wledydd, ac adeiliadau;

Mae'n

* Molawd, mawlgan.

Mae'n puro 'r eglwys mewn per aroglau,
O'r lli a'r godwrdd, a'r holl rwygiadau;
Duw tramawr dettyd rwymau—hên ragrith,
Er tarò y gaulith i'r tir golau.

Ffrwyth cynnen, bendraphen droch
Flin wedd, yw aflonyddwch:
Ffrwyth Rhyddid, trefnid di rôch,
Yw llwyddiant oll a heddwch.

Tyn yr oes o tan oer iau,—echryſawl,
A chroeſion ymbleidiau;
Dryllia goelion, gweigion gau,
A thröedig gaeth rwydau.

Rhag dirdra aerfa erfawr—rhy athriſt
Y rhuthrwyllt gleddyfawr,
Tra ieſin yw y tryſawr
Pen llad rhwng leuad a llawr.

Ys berthid Rhyddid yn rhwydd wawr liwdeg,
A wna 'r wlad yn ddedwydd ;
Mal yn *Sparta*,* llawna' llwydd,
A *Thule*,† mewn iaith hylwydd.

*Lycurgus* ‡, lyw cywir-goeth,
A *Solon* §, heddychlon ddoeth ;
Troisant i'w llwyddiant y llid
I Ryddid yn oreu-ddoeth.

O'i

* Dinas freiniol gynt yn Peleponnes, à elwid hefyd Lacedemon : y trigolion oeddynt hynod o herwydd eu haelioni, a'u hymdrech yn erbyn trawslywodwraeth.

† Ynys ogleddol, a grybwyllid yn fynych am dani gan y Groegiaid a'r Rhufeiniaid gynt ; ac mae'n debyg mai'r Ywerddon ydoedd ; sef *Tyle Ysgawd*, neu drigfan yr Ysgodogion. Hwynt á elwid felly, o herwydd eu tueddiad i gyfanneddu mewn cysgodion, neu goedydd ac anialwch, gan mai hynny yw ystyr *Ysgodogion* : ac i mae enwau llwythau ereill o'r un genedl yn arwyddocau yr un peth ; ysef y *Gwyddelod*, neu drigolion y gwyddeli ; a'r *Celyddon*, rhai yn preswylio mewn celydd.

‡ Brenin gynt yn *Sparta* ; hefyd brenin arall yn *Thrace*, yr hwn à orchymmynodd ddifetha'r gwinwydd er mwyn cadw ei ddeiliaid rhag meddwi.

§ Gosodwr cyfreithiau neu ddeddfwr hynodol yn *Athen* gynt.

O'i phlaid yr hên *Geiltiaid** gynt,
Diddwl, anorfod oeddynt,
A'u harfau yn gwau mewn gwynt,
A dynion marwol danynt.†

Llofgwyd, neu yfwyd dinafoedd hirion;
O herwydd terfyfgoedd;
Dyrchafu, ymrànu 'r oedd
Dân ufel hyd y nefoedd.

I gadw yn ôl gyda nerth
Orwag ynfyd rwyg anferth,
Da fu rheol lefol iawn
A thiriawn gyfraith Iorwerth. ‡

Er hardded, glaned mewn glyn—yw Rhyddid,
A'r heddwch i'w dilyn;
Nid teg yw rhedeg ar hyn,
Trwft hirfaith, tros y terfyn.

Rhag

* Yr enw y gelwid yr hen gynmry gynt; fef cyn-drigolion Ffrainc a Phrydain.

† Aneurin á ddywawd yn hynod am eu dewrder—
Creu cynhynt cynnullynt reiawr,
Yn gynfan mal taran twrf aefawr.

‡ Edward y 6.ed.

Rhag blinder o boethder byd,
Naws rhuddfäog, bradog brwd,
Hwy na dal dial ar dud
Y fai' hedd îs y rhod;
Ei adfain, leddfsain ddi lid,
Drwy'r ddaear hugar á hed;
Ba'nd* rhyfedd rhinwedd y rhâd!

Prif olud clau dud clodadwy,—yw hon,
A hynod gynnorthwy;
Ni fu gwlith un fendith fwy
I Frydain, le dyfradwy.

Drwy nodded gogoned Gun†
Trugaredd, rhinwedd y Rhen,
Diau nad oes eirioes un
Bro dan haul fal Brydain hên.

Drwy Brydain gywrain rhoed gawr,‡—lawn uchder
O lonychdod dirfawr;
Bu lawenydd i'n blaenawr
Gael aur wên a golau 'r wawr.

Dan

* Diau, yn ddiamau.
† Arglwydd. ‡ Bloedd.

Dan Siôr, ein llawn-bor, a'n llyw,
Gwawr Rhyddid á geir heddyw,
Gwawr odiaeth gywir adeg,
A gwawr deg o garìad yw.

Fflwch * degwch digaeth,
Eurwawr dymmawr daeth
I'r wladwriaeth o reol dirion:
Edfryd Iechyd oes
O byd, glefyd gloes,
I rywiog eirioes wr y goron.

Dull o wiw-drefn da yw llywodraeth
Ein bro dirion, wen brïodoriaeth;
Rhag ail ennyn rhwyg o elyniaeth
Ymryfonau amryw wafanaeth.

Wele dirion wyliadwriaeth
Penadwriaeth paun hyderus,
Iawn gloi dewrion ein gwladwriaeth,
Rhag bradwriaeth rhwyg bryderus.

Duw

* Difglaer, gloyw.

Duw á ranodd, o'i dirionwch,
I'r wen frodir iawn hyfrydwch:
E gaed y Rhyddid, gyda 'r heddwch,
Edef euraid yw difyrwch.

Ail Ryddid wawl oreu-ddoeth—mae 'n eisiau
Mewn ysol ffwrn fflamboeth;
Cras enbyd le creision-boeth
Yn holl ardal *Belial*, boeth.

Yn Nef, aur haddef* y Rhyddid—beunydd
Nid oes boen nac erlid;
Na thraha, lladdfa na llid,
Rhyfel nac unrhyw ofid.

Rhwydddeb, cyfsondeb cu fydd—a rhydid
Yn rhedeg drwy 'r gwledydd,
Gwreichionen gre' ei chynnydd,
Ei mawl rhyfeddawl á fydd.



* Cartref, trigfan.

Lle bu gwenwyn a hyll baganiaeth,
I bawb oddef o dan babyddiaeth,
Llaw goleuni yn lle gelyniaeth
Dirymai 'r chwil-lys,* drom orchwyliaeth.

O medraf, daliaf, âf i'w dilyn,
I oror *Idal* ar aur edyn;
Drwy *Hispania*, neu dros y *Penwyn*†
Uchel-drumawg wych olau dremyn;
Y ddychymyg fyg á fŷn—yn ddioer,
Dan wych wen-loer dynu i'w chanlyn.

Naws gywir-ferch o ynys *Corsig* ‡
Ar hyd moroedd rhed i *Amerig*,
Goloywi *Asia* yn eglwysig;
Goleuo, deffro gwaelod *Affrig*.

Heb

* Enw y llysoedd mewn gwledydd pabaidd lle canlynid ar bawb yn neillduo oddiwrth grefydd y deyrnas, ac a'u cospid mewn amryw foddion arswydus.

† Mynydd uchel rhwng Ffrainc a'r Idal.

‡ Ynys yn Mor y Canoldir; trigolion pa un a ymdrechasant yn wrol yn mhlaid Rhyddid yn y cynamseroedd.

Heb Ryddid hybereiddia'—a hoyw-fraint
Ei hyfryd ſwyneidd-dra,
Cyſur i natur ni wna
Dwy randir daear *India*.

Rhyddid, calondid y ćla',—ddïogel
A ddwg yr eſmwythdra;
Os heb wrês y dduwies dda
Gwae *Ruſain* ac *Araſia*. *

Y mae 'r arian a'r mererid,†
Trai annifyr yn troi 'n oſid,
Heb Ryddid un boreuddydd,
Gafael gaeth, yſywaeth, ſydd
Ddol einioes ddilawenydd,
Ni ddichon yn foddlon fad
Ond cariad ddwyn y cerydd.

Baî

* Rhufain ac Araſia, ffynnonydd budron a ddiwynaſant ffrwd nefol y wir greſydd; y gyntaf ſydd orſedd y Pâb, a'r llall Mahomed. Rhagynt gallwn adrodd geiriau *Gwalchmai*—

Gwae di o'r naid yn rhyddoded
Yn rhygnawd pechawd pall gynnired
Rhag o'n twyllaw byth o beth hebred
I golli teithi tanc aſneued.

† Maen gwerthfawr à fâg mewn mor-gregyn, o liw glaſ-wyn, à elwir *Pearl* yn y Seiſoneg.

Bai ar wŷr *Europ* bér yr awrhon
Yw eu mordwyaeth am wỳr duon ; *
Dwyn o *India*, ar deneu wen-don,
Aneirif gaith dan arw fygythion,
Hir-ddrwg, rhyw olwg greulon,—dwyn heddwch,
A mawr ddiddanwch myrdd o ddynion.

Dynoldeb, purdeb mwyn pêr—à ddylid
Ei ddilyn bob amſer ;
Gan ddangos yn achos Nêr
At yr *Indiaid* dirionder.

Bob amſer rhodder y rhan—o borthiant
A berthyn i'r truan ;
Tynerwch tannau arian
Fo'n yſtyr gwewyr y gwan.

Dyràno Iesu i druenuſion
Rhyddid ac iechyd, roddiadau gwychion ;
Duw à fo noddwr y difinyddion
Llyw ei bur eglwys o'i holl beryglon ;

A rhodder

* Er anglod i gynneddfau trigolion Prydain, ac er celwyddaw eu crefydd, wrth brynu a gwerthu y truenuſion duon y maent yn cael rhan fawr o'u hennill gan gynnal eu mael—drwy bob math o gywilyddus gribddail.

A rhodder i'n Nér, ein Iôn, fawl hyber,
Nâf à addoler o iawn feddylion.

Dwyrê 'n ol i dir nes,
Fy awenydd—i'r fynwes;
Dadgan faint hoyw-fraint a hedd
Bri *Gwynedd*, ein bro gynnes.*

Mae fain drwy Frydain frodir—gair anwyl
A gwirionedd cywir,
'Fengyl o'i themyl a'i thir;
Brig y iaith á bregethir.

Mwyn doreithiog yw y mân draethau,
Eigion y llynoedd a gwinllanau,
Cair pob rhywogaeth ffraeth eu ffrwythau,
O'r iach hoyw frodir i'w chyfreidiau:
Da blithog, laethog lwythau—da carniog,
Cair y da gwlanog 'r hyd y glynau.

Trwy

* *Dafydd Benfras*, yn ei amfer, á allai harddu Mawl ei wlad ag enw Llywelyn ab Iorwerth, pan ganodd—

A'm gwnel——
I foli gwyrdawd Gwyndud werin
Gwynedd bendefig ffynnedig ffin.

Trwy holl *Wyndud** o try llawnder,
Hoywaidd fendith, a'i haddfwynder,
Achles cynes cawn,
Hafdes, gwres a grawn,
Gair uniawn Goreu-ner.

Trefner, cyfoder cofiadon,—hynod
O henwau 'r grymufion;
Iawn-dda cadw, yn ddihocedion,
Goffadwriaeth o gyff dirion,
Prawf o lwyddiant prif luyddion
*Lloegr* anwyl, a'i holl gywreinion,
Da wrol-barch i dir *Albion*†

A thir

* Yr oedd yr enw ymma eryftalm yn gyffredin am Ogledd Cynmru, eithr Powys; enw pa un oedd Gwynfa; a Gwynedd oedd y ddeuparth ynghyd; ond gan fod yn anhawdd yn awr gael Cynmro a fo gydnabyddus â hanner ei iaith gynnwynawl, felly mae enwau rhan fawr o'i wlad yn ddeithr iddo.

† Alban y galwai yr hen Gynmry y rhan ogleddig o Brydain; hwyrach o herwydd ei bod yn fynyddig, neu o'i bod yn uchel i fyny tua'r Gogledd, gan mai arwyddocaad yr enw yw *goruchel*, neu fal y gellir yn weddufach ei galw y *Blaenau*.

A thir *Gwalia* * a'i thrigolion:
Bid ein iaith, hen-iaith yw hon—mewn
blodau
Yn nyddiau *Gwyneddion.*

Na ddêl gormeilwyr, ddwylaw grymialog,
Etto i'r ynys yn wŷr tarianog;
Na bo i'r gâlon, yn rhai bygylog,
Lygru draw wythi hen Loegr doreithiog;
Llawn Rhyddid llon rhïeddog, hyd ddiwedd
A fo holl *Wynedd* hywiw feillionog.

Trwy 'r byd, nid triftyd y tro—cu rydid
Caredig á lwyddo;
Rhag i gwmmwl dwl yn do,
A chaddug ei orchuddio.

Moli 'n ddilid
Dduw á ddylid,
Am ein Rhyddid;
Mwyn yw 'r heddwch

Gwawr

* Enw ar Gynmru ymmyfg y cenedloedd anghyfiaith; efo pharai y mae ar alltud, er bod iddo wreiddyn pur yn y Gynmraeg.

Gwawr gywiraf,
Dydd dedwyddaf,
O lunieiddiaf
Wiw lonyddwch.

Cynnal rhyw ofal rhyfedd—à ddylid
I ddilyn ffordd rhinwedd:
Dilyn byth hyd lan y bedd
Gywrein-waith y GWIRIONEDD.

Bo i deulu bydolion
Fyw 'n addas i ras yr IÔN:
Dan Wên dda lawen ddi lid,
A RHYDDID Nef a'i rhoddion!

# AWDL AR WIRIONEDD.*

*Gwefus Gwirionedd á ſaif byth.*

DIAR.

Stet veritas ruat mundus.

DWYRE wenydd dirionwych;
Moes ym borth, yn gymmhorth gwych:
I ddadgan clod hynod hedd,
GWIRIONEDD yn gywreinwych.

O'r GWIRIONEDD, gair union,—a'i wlithoedd
O lwythog fendithon;
Pláned, dyraned yr ION
Fwy y'nghiliau fy nghalon.

Wele fôr i lafurio,—yn ollawl
Ni allaf ei nofio;
IESU mawr, tra mawr y tro,
A fu Saer i'w feſuro.



Gwr

* Teſtyn y Gwyneddigion i Eiſteddfod Llanrwſt, 1791. Barnwyd mai 'r Awdl hon a ennilloed yr Ariandlws.

Gwr â ſail à gâr ſylwedd,—was ufudd,
  A ſaif hyd y diwedd;
Gwyn ei fyd y Gwan à fedd,
  Ei gu ran o'r Gwirionedd.

Profir doethineb rhyfedd,—a mawrwych
  Yn môr y Gwirionedd;
O'r dw'r hynod daw rhinwedd
  Yn gymmhorth hyd borth y bedd!

Y rhinwedd wiw orhynod,—ſy' ollawl
  Eſillydd y Drindod,
Ei rad awdwr yw 'r Duwdod
  Tragwyddol anfarwol Fod.

Iesu anwyl ſy unig—wirionedd
  I'r Enaid ſychedig;
Beth dros fai à dolai 'r dig?
  Ba'nd y Gwaed bendigedig.

Trugaredd, hedd, o ſedd ſant,
  A gwir, ſy'n well nag ariant,
A chyfiawnder, ceinber cu,
  Yn Iesu à unaſant.

Mae'r gwir yn gywir i gyd
  Yn Nuw yn ddigyfnewid;
Pur a hardd; pery o hyd
  Ei ddiwael hael addewid:

Cyfur praw' eglur bob pryd,—rhagorawl
Yw gwir-air y bywyd;
Mwyn fylfaen mewn ifel-fyd,
A dydd barn, pan dawdd y Byd.

Gair Duw fyth, o gryd i fedd—îs haul-fyd,
Yw fylfaen gorfoledd;
Duw Iôr ei hun, awdur hedd,
Yw'r unig Wirionedd.

Y gair á wnaeth, helaeth hawl,
Nef ferawg anfefurawl:
Mewn dwyfol, anfarwol Fod,
Anorfod, mae'n gynnhyrfiawl.

Gair Duw *Iago*, yn greëdigol,
A lunia fyd i'w le hanfodol;
Cryfaf, a threchaf wrthddrychol—Benllad,
Yw Gwir, cain archiad, gair cynnyrchiol.

Gair o enau 'r GWIRIONEDD,
Nerth IÔN, dug bydron o'r bedd!
Cadd meirwcn ar dirion daith,
Fyw eilwaith mewn gorfoledd!

Gair da yr IESU yw'r gwir dryſor,
Gair ei Efengyl yw'r gref angor:
Cywir rhag angau, ceir ei gyngor,
I filwrio am nefol oror.

Ni char yr IÔN, union wr,
Enaid un anudonwr,
Cyn hir e lyncir i lyn
Y gelyn a'r gwrthgiliwr.

Och ragrith y felltith fawr,
Cynnaliad ffals cyn elawr,
Gwae ddyn, ar derfyn ei daith,
Droi ymaith i'r boen dramawr.

Canfyddir, rhifir hefyd,
Lawer Baal gan lu o'r Byd;
Rhai etto yn ceiſio cair
Y Gwir-air cyn y gweryd.

Mae'n

Mae'n bechod gwrthod y gwir :
Gwae'r Enaid à gâr anwir ;
Gwadu'n dŷn (a dilyn Diawl)
Y Duwdod awdurdodawl ;
Gwadu'r *Prynwr, Rhoddwr rhad,
A gwadu 'r uniawn Geidwad.

Nef-anedig,
Reddf arbenig,
Gu wyrenig,
   Yw Gwirionedd :
Achoſiadol,
Hir effeithiol,
A chyfranol,
   Uchaf rinwedd.

Diogelwch,

* Hyn ſy 'n cyfeirio at y gwrthgredyddion a'r Soſiniaid : y rhai cyntaf á ymffroſtiant yn eu doethineb gan lwyr ddiyſtyru Datguddiad, neu eglurhaad ewyllys Duw drwy ei Air ; a'r lleill, heb fod yn llwyr mor ffroen-uchel, mae'nt yn rhyw ledgoelio, onid eu bod yn bur gynnil o'u parch i'n Iachawdwr ; canys prin yr addefant iddo fwy o anrhydedd nag à berthyn iddynt eu hunain.

Diogelwch, deg alwad,—yw'r union
WIRIONEDD yn waſtad;
A cholofn aur wych alwad,
I'r Eglwys, wrês dwys, a'r ſtâd.

Twyllodrus, gwawdus yw gwin,—o nwydau
Anwadal yw brenhin;
A gwraig deg ſai 'n dwyn egin,
Mae gweniaith maith yn ei mîn.

Beth á dal, gwamal y gwedd, —hir gariad,
A rhagorwaith gwragedd;
Na gwîn yn y mîn, na medd,
Na Brenhin heb Wirionedd?

Y mae'r GWIRIONEDD, O! mor gywreiniol,
Yn NUW ei hunan yn anwahanol;
A'i henwi 'n ſadiain * hunan-hanfodol,
Daionus, puredig, dân yſbrydol;
Mae'r tân, yn anian ennynol—beunydd,
Dechreu, cynnydd, ffydd anniffoddol.

Un a'i phen yn y ffynnon
Ydyw 'r DDUWIES hyles hon.



* A ſo â thueddiad ynddo i ddaioni.

Er aur o rif yr eira;
Derbyn wyneb neb ni wna.
Yn y Frawdle 'n hyfrydlon
Pan noethaf, hyfaf fydd hon.
Er i Dwyll,* mewn ammhwyll nod,
Ddwyn ei gwifg, dda iawn gyfgod;
Digryn a dieuogrwydd
Yw hon, a rhadlon, a rhwydd:
Er i gelwydd ymchwyddo;
Daw 'n amlwg ei fawrddrwg fo:
Hefyd e all *Jehofa*
Droi y drwg yn ddiddrwg dda. †
Doeth iawn yn ei fad-waith yw,
Neud, Awdur drwg nid ydyw.

Da ydyw 'r fanon, diderfynol:
Da yw ei mwyniant a dymunol:

Mae'n

* Felly y dywed y Chwedl, ddarfod i *Dwyll* ddwyn gwifg *Gwirionedd* wrth ymolchi gynt; a'i bod etto yn rhodio yn y Byd yn rhith a gwifgiad GWIRIONEDD: ac er bod Gwirionedd yn noethlymyn; etto nid oes arni naws o gywilydd.

† Edrych Gen. Pen. XXVII adn. 19. a Phen. y XXXVII. adnod y 24.

Mae'n rhoi nodded mwyn a rhinweddol
I'r ifel fynwes, râs fylfaenol,
Y Criftion ffyddlon, nid ffól,—Trugaredd,
Dros ei anwiredd, draw fy 'n eiriol.

Cawn i'w yfed y cynhauaf-win
Etto o gerdded at ei gorddin.
Hafal i'r grifial yw'r gaer iefin,
Rhyfedd, fawr annedd y Nef Frenhin:
Mawl Iesu yw 'r melyf-win—pur wleddau,
Nid arlwyadau dirol Odin. *

Gwers o Baradwys yw'r Gwir yfbrydol;
Nid yw guddiedig ond dadguddiadol:
Gras yw i enaid à fai grefynol;
Nid cam ofodiad, ond cymmwyfiadol;
Neud, maith yw hoff waith effeithiol—yn deg,
Gwîn o lawenydd yn ganlynol.

Gorau

* Odin was regarded as the god of war by the ancient Danes, and other northern nations. Odin's hall was the fabulous manfion deftined for the reception of the fouls of departed heroes, whofe felicity, like that of Homer's gods, was made to confift in fumptuous banquets, and feftive fongs.

Gorau grymus-waith gair y *Gwir* moesol,
Yw rhwym cu heddwch o rym cyhoeddol:
Er mwy anrhydedd i wr mae 'n rheidiol,
Gael ymma ddylyn goleu meddyliol:
Mwynhau gwrês gwiw lês eglwysol,—yn deg,
A rhediad gloywdeg Rhydid gwladol.

Cyfraith natur bur heb wyro—yr iawn
Wirionedd yw hòno,
Lle ba'i Ryddid yn llwybreiddio,
Y cu rinwedd fe'i cair yno
Nid all hydwyll dywyll hudo
Ei feddiannydd, pan fyddino:
Mae GWIRIONEDD yn em gryno,
Mewn dwys glorian mae 'n dysgleirio:
A CHELWYDD, ond ei chwilio—try'n uniawn
Yn ysgawn wan osgo.

Y Gwir, ei iawn agoryd—á ddylid
A'i ddylyn bob enyd;
Yn mhob masnach bach o'r byd,
Uchel fodd, a chelfyddyd.

Yn ddilid, dylid hyd elawr—dylyn
Y dihalawg flaenawr;
Rhag bod am drafod ryfawr,
Yn ol yn y fantol fawr.

Lle bo rhwygfa llwybr rhagfarn,
A rhydraws, ofer-naws farn,
Rhag caeth fradwriaeth a dig
Cliciedig yw'r clo cadarn.

Aed fain y *Gwir*, aed fon i gyrau
Amryw duedd yn mŷr y deau
Y gre' Efengyl o grafangau
Y llew a noda 'r llu eneidiau.

Taened goleu, tywyniad gwiwlon,
I'r gorllewinol gyrau llawnion;
Gwawr o ddiwygiad gywir ddigon,
Draw i Fadawgwys—drefedigion.*

Gwelir,

* Mae yn hyfbys i lawer o honom yr Hanes am Fadawg ab Owain Gwynedd, mal y cynnullawdd ynghyd nifer o'i gydwladwyr, yn y flwyddyn 1170, ac y mordwyawdd ymmaith efo deg o longau i eigion y gorllewin, gan ganu yn iach i gynmru, mewn gobaith o feddiannu gwlad mwy heddychlon, a thirion: mae yn llwyr ddilys y pryd hyn mai y rhai y grybwylled uchod,

yn

Gwelir, rhwng y Gwir, a'r Gau—fawr ragor,
Fe rwygir mynwentau;
Daw'r cyrph o'r iſeldir cau,
Rif eres ar ryw forau!

Garbron yr union ARWEINYDD—Ior anwyl,
A'r ynad tragywydd,
Mil fyrddiwn ar fyrddiwn fydd,
Fal manod ar fòl mynydd.

Dau deulu 'r Byd didolir—Gelynion
Y Gloyw-naf á goſpir;
Ei blant, à garant y Gwir,
Gwerth ei waed ni's gwrthodir.

Da yw caru gwaſgu 'r Gwir;
Os da tid na's dattodir,
A dyrchafu, clỳmu clod
I diriondeb y DRINDOD;

Ac

yn cyfanneddu yn America yw dylynwyr y gwr enwawg hwnw. Yn nhreigliadau yr welygordd hon o Gynmry yr ymddengys Rhagluniaeth ryfeddawl iawn, yn heyddu oganom ni bob parch a gogoniant; wrth ſynied ddarfod i lu o'n cynfrodorion ymddifânu oddiwrthym er ys cymmaint o amſer â chylch y nawfed ran o oes y Byd; ac ini yr awr hon gael adrywedd arnynt, wedi amlhau yn genedl lioſawg, y'nghanawl gwlad mor anghyſbell.

Ac erfyn ar ein gyrfa,
Rhan ddoeth o bôb rhinwedd dda;
Troedio'n dêg trwy dân a dw'r,
Ar alwad ein Eiriolwr;
Heb ofni loes, croes y cri,
Nac ergyd un gwyargi.
Gweddio tra dalio dydd,
Gael yn Nuw galon newydd;
Byw 'n eirwir heb anwiredd,
O fewn y byd ar fîn bedd.
Caru 'r Gwir rhag hwyr gerydd,
Cofio 'r Farn a'r cyfrif fydd;
Ac arddel' yn gywir-ddoeth,
Dyn yn ddim, a Duw ne 'n ddoeth;
Nes cael wedi 'r drafael draw,
Yn Salem wen nofwyliaw;
A myned yn ddymunawl,
I blith myrdd i blethu mawl.

DIWEDD.

# CYHOEDDIAD.

BOED hyſbys i'r Prydyddion fod Cyfaill yn addaw Anrheg, i'r un à lunia y Cyfanſoddiad cywreiniaf ar ddull Gwareyon Seiſonig, o waith Shakeſpear ac ereill. Wrth hyn deallir mai yr amcan yw, i fod y gwaith i adael heibiaw y ddull arferawl o chwareyddiaeth ynmhlith y Cynmry; onid yn bènaf i ymwrthawd â Serthedd o un tu, a rhith mawr Grefydd o'r tu arall. Yr hyn à berawdd i lawer lenwi eu Cyfanſoddiadau â gormodedd o'r ddau, er mwyn boddiaw y ddwy-blaid; un gyda maſwedd, a'r llall â phregeth; heb erioed ſynied pa gyfeillion mor anaddas oeddynt yn ddwyn i'r unfan. Felly, er cymmwynas i Gymmedroldeb, iawn fydd cadw y llwybr canolig rhwng y cywilydd o'r naill barth, a chabledd o'r parth arall; onid yn mhob peth heblaw hyn, dylyned y Beirdd yr Awen, er anianawl gyfrwyddyd.

## LLYFRAU À GYHOEDDIR YN FUAN.

Geiriadur Gwilym Owain: Cynmraeg a Seiſoneg.
Barddoniaeth Seiſonig Iorwerth Gwilym.
Arweinydd i'r Cynmraeg, gan H. a D. Thomas.
*Celtic Remains*—gan y diweddar Lewis Morris.

Dillynion Barddoniaeth: Yr ydys yn bwriadu cyhoeddi dan yr enw ymma gymmaint o waith y Beirdd, o'r oeſoedd cyntaf hyd y pryd hyn, ag à fernir yn orcheſtawl, neu yn deilwng o'u hachub,

er hyder peri dywenydd i'r ſawl à hoffant goleddu yr Iaith Gymmraeg. Trefn y Cyhoeddiad fydd rhoi allan bedwar Rhifyn yn y flwyddyn; un yn mhob un o'r pedwar amſer, o werth Swllt; yn cynnnwys ogylchwyth ugain tu-dalen.—Dymunir i'r ſawl à fo ar fedr cymmeryd y Llyfyr ddanfon eu henwau i Ddafydd Tomas, o'r Waun-fawr yn Arfon; neu i Wilym Owain, drwy ddwylaw cyhoeddwyr y Llyfyr hwn, yn Llundain; canys y cwbl à argraphir fydd hynny à ofynir yn mlaenllaw am danynt.

---

Pan oedd oed Criſt yn un mil ſaith gant naw deg ac un, a'r haul y'nghyfnod hirddydd haf ac awr anterth, y rhodded gwahoddiad, y'nghlyw Gwlad ac Arglwydd, dan oſteg un-dydd a blwyddyn, a nawdd i bawb à geiſiont Urddas a Thrwydd-edogaeth wrth Gerdd a Barddoniaeth yn mraint Beirdd Ynys Prydain, gyrchu pen Bryn y Briallu yn ymyl Caerludd, yn mhen un dydd a blwyddyn, yn awr anterth, lle ni bydd noeth arf yn eu herbyn; ac yno 'n erwynebawl Iolo Morganwg, Bardd wrth fraint a defawd Beirdd Ynys Prydain, a chydag ef Daniel Dafydd, a Gwilym Owain, a Glan y Gors, a Dafydd Ddu Feddyg, a Sion Penllyn, a'r Bardd Cloff, a Hywel o'r Eryri, a Dafydd Ddu o'r Eryri.—A hwynt oll yn Drwydd-edogion yn mraint Beirdd Ynys Prydain, er rhoddi Barn Gorſedd, yn Llygad Haul, ac yn wyneb y Goleuni, ar bawb ó barth Awen a Chynneddf, à geiſiont Urddas a Thrwyddedogaeth wrth Gerdd a Barddoniaeth yn mraint Beirdd Cyfoeth Morganwg, a Gwent, ac Ergyng, ac Euas, ac Yſtrad Yw. A hyn yn enw Duw a phob Daioni.

# GEIRLYFR YSGRYTHYROL.

## A.

AARON, [*Uchelwr, Mynydd Cadarn* neu *Athraw*] Lefiad, mab Amram brawd Mofes a Miriam. Ganwyd ef yn y flwyddyn O. y B. 2430. Ychydig cyn i Pharao roddi gorchymmyn allan am ladd plant gwrrywiaid yr Hebrëaid. Pan aeth efe i Oedran a Ma'ntioli, efe a briododd Elifeba merch Aminadab, a bu iddo bedwar a feibion o honi, Nadab ac Abihu, Eleazar ac Ithamar. Ecf. 6, 20, 23. Yr oedd efe 'n wr hyawdl, croyw ei ymadrodd; efe a ordeiniwyd gan Dduw i fod yn enau i Mofes ei frawd i lefaru wrth Pharao a'r Hebrëaid. Ecf. 4, 14, 16. Efe ynghŷd â Mofes ei frawd a amlygodd fwriad graflawn Duw am waredu 'r Hebrëaid allan o'r Aipht. Efe a archodd yn enw 'r Arglwydd i Pharao ollwng ei geraint i anialwch Arabia i wafanaethu 'r Arglwydd eu Duw. Pharao a'u gyrrodd hwynt ymaith o'i ŵydd, ac a drymhaodd, wafanaeth y bobl gan naccâu rhoi iddynt wellt i wneuthur eu priddfeini. Cwerylodd y bobl â Mofes ac Aaron yn doft; o herwydd eu bod wedi bod yn achos i beri iddynt gael trymhâu eu beichiau, trwy ofyn eu rhyddid. Ecf. 5.

Ynghylch dau fis gwedi hynny pan oedd yr Hebrëaid newydd gael eu gwaredu o'r Aipht, ac yn ymladd âg Amelec yn Rephidim, *Aaron* a Hur a aethant gyd â Mofes i ben bryn, i gynnal ei freichiau ef i fynu tra 'r oedd efe 'n calonogi 'r bobl, ac yn gweddïo am y fuddugoliaeth, nes y gorchfygafant eu gelynion. Pen. 17, 10, 13. Yn Sinai efe a'i ddau fab hynaf ynghŷd â deg a thrugain o henuriaid Ifrael, a aethant gyd â Mofes ran o'r ffordd i ben y mynydd; lle gwelfant bethau rhyfedd, pan lefarodd Duw wrth Mofes. Pen. 24, 1, 2, 9, 11. Yn fuan wedi hynny y dewifwyd *Aaron* a'i hiliogaeth i wafanaethu 'r fwydd offeiriadol yn mysg yr Iuddewon, hyd ddyfodiad a marwolaeth y Meffia addawedig. Pen. 29, a 30. Erbyn bod yr anrhydedd neillduol wedi ei rhoddi iddo, er dangos, ei fod yn analluog ac annigonol, i ddwyn eraill i ffafr Duw, efe ei hunan a gwympodd i bechod erchyll. Yr Hebrëaid a'i hannogafant ef i wneuthur iddynt dduwiau i'w blaenori, yn lle Mofes yr hwn oedd etto yn y mynydd. Gorchymmynodd Aaron iddynt ddwyn cluft-dlyfau eu gwragedd a'u plant atto ef: y rhai a ddaethant mae 'n debyg yn rhwyddach nag y dyfgwyliodd efe: cymmerodd y rhai'n o'u llaw hwynt, ac efe

a'u ffurfiodd yn llo tawdd er dynwared ŷch yr Aipht, yr hwn fe allai, fod gormod o'r Hebrëaid yn ei fawrhâu gynt yn y wlad honno. Efe a gyhoeddodd ŵyl iddo a'r bobl a ddywedafant, "Dyma dy dduwiau di Ifrael y rhai a'th ddygafant i fynu o wlad yr Aipht." Daeth Mofes ac a'i ceryddodd ef yn llym, am ei ddelw-addoliaeth, yntau a geifiodd ymefgufodi gan fwrw 'r bai ar ddrygioni 'r bobl; ac iddo fwrw 'r aur yn tân, a'r aur ddyfod allan yn llo. Pen. 32.

*Aaron* a edifarhaodd am y bai anafus hwn; efe a'i feibion yn mhen dau fis gwedi hyn, a wifgwyd â'r gwifgoedd cyffegredig, cyffegrwyd, urddwyd, ac eneiniwyd ef i'r fwydd offeiriadol. Lef. 8. Yn ddïoed efe a aberthodd aberth tros gynnulleidfa meibion Ifrael; a thra yr oedd efe a Mofes yn aberthu ac yn bendithio 'r bobl, daeth tân i lawr o'r nef ac a yfodd yr aberth. Lef. 9. Tebygol fod ei ddau fab hynaf wedi yfed gormod o win ar ddydd eu cyffegriad: Cymmerafant dân cyffredin am hynny buant feirw: Nid oes gennym un hanes fod *Aaron* na 'i feibion eraill yn galaru dim ar eu hol, oddi eithr mewn ymattaliad oddi wrth fwytta cig pech-aberth y bobl y diwrnod hwnnw. Pen. 10.

Ynghylch pen blwyddyn wedi hyn, y bu Aaron a Miriam yn edliw gwraig Mofes am ei bod yn Ethiopes; ac yn cenfigennu wrth ei awdurdod ef. Cafodd *Aaron* ei arbed, o herwydd ei fod yn y fwydd offeiriadol, eithr Miriam a darawyd â gwahanglwyf trwm iawn. Cydnabu Aaron ei fai ac a ymoftyngodd, gan weddïo am adferiad iechyd ei chwaer. Num. 12. Cyn pen hir wedi hyn pan oedd *Cora* a'i gyfeillion yn cenfigennu anrhydedd *Aaron* gan feddwl ymwthio i'r weinidogaeth: yr Arglwydd a amddiffynodd yr anrhydedd a roddafai efe yn nerchafiad ei weifion, trwy daro 'r gwrthwynebwŷr, a pheri i'r ddaear agor ei fafn a'u llyngcu hwy 'n fyw i uffern, neu *i'r pwll.* A holl gynnulleidfa meibion Ifrael a duchanafant yn erbyn Mofes ac *Aaron,* fel pe buafent hwy 'n euog o ladd y gwrthryfelwŷr hyn: ennynodd digofaint yr Arglwydd yn eu herbyn hwynt, ac a anfonodd bla yn eu plith, fel y bu feirw o honynt bedair mil ar ddeg a faith gant, heblaw y rhai a fuant feirw yn achos Cora. Aaron a fafodd rhwng y meirw a'r byw; a'r bla a attaliwyd.

Er profi fod ei alwad i'r fwydd oddi wrth yr Arglwydd, ac i rwyftro pellach ymrafael ynghylch yr offeiriadaeth, Duw a'i cadarnhaodd hi i *Aaron,* trwy beri i'w wïalen ef flaguro 'n ddifymmwth a dwyn almonau, ger bron y drugareddfa; pan oedd gwïail y llwythau eraill yn wywedig a diffrwyth oll. Num. 16, a 17. Pan y daethant i Meriba, y mae *Aaron* a'i frawd Mofes, yn pechu 'n erbyn Duw trwy anhyderu arno am ddwfr

i'r gynnulleidfa: Fel cerydd am hyn, a dangos nad allai offeiriadaeth Aaron ddwyn dynion i mewn i'r etifeddiaeth nefol, cafodd *Aaron* ei attal rhag myned i Ganaan. Ychydig cyn i Ifrael feddiannu 'r wlad, yn ol gorchymmyn Duw, efe a aeth i fynu i fynydd Hor; yno y dïofgodd Mofes ei wifgoedd fanctaidd oddi am dano, ac a'u gwifgodd am Eleazer ei fab, efe a fu farw yno yn ddifymmwyth yn 123 oed, O. y B. 2552. Ei feibion a'i frawd Mofes a'i claddafant mewn ogof, "A holl Ifrael a alarafant am dano ddeng niwrnod ar hugain." Num. 20. Deut. 10, 6.

Yr oedd *Aaron* yn gyfgod neillduol o Iefu Grift, mewn amryw bethau: Fel y dywed Paul Heb. 5, 4, 5. nad oes neb yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw i'r fwydd megis *Aaron*. Felly hefyd Crift ni's gogoneddodd ei hun i fod yn Arch-offeiriad, ond yr hwn a ddywedodd wrtho, Tydi yw fy Mab; myfi heddyw a'th genhedlais di. Felly fe 'i galwyd ef gan Dduw i'r fwydd, i fod yn offeiriad tragywyddol yn ol urdd Melcifedec: eneiniwyd ef â'r Yfpryd Glân ac nid wrth fefur; ac yr oedd efe yn offeiriad perffaith dianaf, digoll, a di halog, i gyflawni 'r fwydd: Gwyrthiau anfeidrol; ei allu i ddaroftwng ei elynion; rhyfeddol flaguriad ei wïalen efengylaidd; troedigaeth a fanctaiddhâd dynion, fy 'n cadarnhâu hyn. Efe yw arweinydd ei bobl o'u caethiwed yfprydol, Efe a'u cyfiawnhâu, a'u fancteiddia, ac a'u harwain trwy eu hanial daith. Efe yw eu *Prophwyd* mawr, a lefara 'n groyw at eu hamrywiol gyflyrau a'u hamgylchiadau; Efe a lefara nes codi 'r meirw o feddau eu pechodau, yn llu mawr i'w ddilyn; Efe a lefara nes tynnu 'r cedyrn o eifteddfaau eu balchder, fel Zaccheus gynt o'r pren: Efe lefara hefyd nes codi ei blant gweiniaid o bydewau eu hanghrediniaeth, eu heuogrwydd, eu hofnau a'u holl amheuaeth; Efe lefara 'n groyw heddwch Duw wrth eu heneidiau. Efe yw eu *Harch-offeiriad* godidog, a thad yfprydol yr holl rai a wneir yn offeiriaid i Dduw. Mewn purdeb, amynedd, tofturi, hyfder a llafur; Efe ynghanol rhwyftrau, drygau a themtafiynau, a gyflawnodd ei waith yn ffyddlon: Efe a roddes ei fywyd i lawr, i droi ymaith y Pla tanllyd o ddigofaint tragywyddol oddi wrth ei elynion. Ac wedi gorphen y gwaith o ufuddhâu, efe 'n gyhoeddus, ac yn ewyllyfgar ar fynydd Calfaria a'i rhoddes ei hun i angeu, gan adael gwifg o gyfiawnder perffaith i'w holl hâd yfprydol.

AARONIAID, hiliogaeth Aaron. Yr oeddynt mor lliofog a bod 13 o ddinafoedd yn cael eu rhoddi iddynt allan o lwyth Jùda a llwyth Benjamin. 1 Cron. 12, 27. a'r 6, 54, 60. Jof. 21, 13, 19.

ABADON ac APOLYON, [*Dinyftr*] brenin y locuftiaid. Gofodir ei

enw ef yn yr Hebräeg ac yn y Gröeg, i ddangos mae 'n debyg, ei fod am ddyfetha Iuddewon a Chenhedloedd. Ni chyttunir yn hollawl pwy yw efe. Myn rhai mai 'r dïafol yw, yr hwn fy 'n ceifio 'r neb a allo ei lyngcu; eraill mai mab y golledigaeth. 2 Theff. 2, 3. Fe ddywed *Bullinger* am dano fel hyn, fod ei enw wedi ei 'grifenu yn Hebräeg, a Gröeg, oblegid fod y ddau Deftament wedi eu 'fgrifenu yr Hen yn Hebräeg, a'r Newydd yn y Gryw, yn ei ddangos ef (Anghrift) ac yn dywedyd yn ei erbyn. Ond edrychwn na byddo hwn yn llechu yn ein mynwes ni yn ddirgel, a ninnau heb ei adnabod Dat. 9, 11. *Edr.* ARABIA ac ANGHRIST.

ABAGTHA, [*tad y gwinwryf*] un o 'ftafellyddion y brenin Ahasferus. Eft. 1, 10.

ABANA, [*carregog* neu *adeilad*] afon yn Damafcus. Tybiodd Naaman ei bod hi cyftal, os nid gwel na 'r Iorddonen, i lanhâu ei wahanglwyf ef. Y mae hi 'n rhedeg i'r dehau orllewin, ar hyd gwaftadedd hyfryd ynghylch 200 milldir i fôr mawr y canoldir. 2 Bren. 5, 12.

ABARIM, [*mynediad,* neu *ffordd trofodd.* Enw cyffredin ar ochrau rhyw fynyddoedd cribog, o du 'r dwyrain i'r Iorddonen. Cyrhaeddent hyd derfynau y Rubeniaid a'r Moabiaid. Mae 'n debygol iddynt gael yr enw hwn, oddi wrth y mynediad neu 'r ffordd trwyddynt. Enwau 'r mynyddoedd hynny yw, PISGA, NEBO, PEOR, &c. Oddi yma y gwelodd Mofes wlad Canaan ychydig cyn ei farw. Deut. 32, 48.

ABBA, gair *Syriaeg* yw hwn fy 'n arwyddoccâu *Tad:* Yr hwn pa un bynnag ai yn mlaen ai 'n ol y darllenir ef, yw ABBA: I ddangos i ni fe allai, fod cariad tadol Duw yr un tu ag at ei bobl, pan fyddo yn eu ceryddu trwy groefau, adfyd a chaledi; a phan fyddo 'n gwenu arnynt trwy hawddyd a llwyddiant. Yfpryd mabwyfiad fy 'n dyfgu i'r faint lefain ABBA DAD, yr hyn a ddengys i ni, mai trwy 'r un yfpryd y mae i ni ein dau ddyfodfa at y tad, fef Iuddewon a Chenhedloedd, yn un corph, a chanddynt y ffydd ficraf yn, cariad tu ag at, a chymmundeb gyfeillgar gyd â Duw. Tair gwaith y mae 'r gair ABBA yn cael enwi yn yr yfgrythyr; un waith gan Grift. Mat. 14, 36. a dwy waith gan y ffyddloniaid. Rhuf. 8, 15. Gal. 4, 6. *Edr.* TAD.

ABDI, [*fy ngwas*] tad Cis. 2 Cron. 29, 12.

ABDIEL, [*gwas Duw,* neu *gwmmwl*] mab Gun i olwyth Gad yr hwn oedd bennaf o dŷ eu tadau. 1 Cron. 5, 15. Jer. 36, 26.

ABDON, [*gwas* neu *gwmmwl barn*] enw Dinas. Jof. 21, 30. Yr oedd hefyd amryw ddynion o'r enw hwn.

ABEDNEGO, [*gwas Nego*, neu *oleuni*] (1.) Un a fwriwyd i'r ffwrn dân. Dan. 3, 26. (2.) Mab Hiliel Barnwr Ifrael. Barn. 12, 13. (3.) Mab Mica. *Edr.* SADRACH.

ABEL, [*gwagedd, tarth*] (1.) Ail mab Adda ac Efa. Mae 'n debygol fod ei rïeni yn dechreu gweled gwagedd y creadur bellach; am hynny yn enwi eu mab felly. *Abel* oedd fugail neu borthwr praidd, a Chain ei frawd oedd lafurwr y ddaear. *Abel* trwy ffydd a offrymmodd i'r Arglwydd offrwm o flaen-ffrwyth ei ddefaid; gan olygu mae 'n debyg, wir oen Duw, yr hwn fy 'n tynnu ymaith bechodau 'r byd. Gen. 4, 2, 4. Fe dderbyniwyd ei aberth ef yn gymmeradwy gan Dduw, cafodd yntau dyftiolaeth trwy ffydd, ei fod yn gyfiawn, gan i Dduw ddwyn tyftiolaeth i'w roddion ef; trwy lofgi ei Aberth, neu ryw fodd amlwg arall, megis Lef. 9, 24, &c. Yr oedd efe 'n gyfiawn ger bron Duw, o herwydd ei ffydd yn addewid Duw o'r Meffia, fef had y wraig, yr hwn oedd i ddyfod i 'figo pen y farph; felly fe dderbyniodd Duw ei rodd, er mwyn ei berfon, ac nid ei berfon, er mwyn ei rodd. Heb. 11, 4. Ni edrychodd Duw ar Aberth Cain, am hynny y fyrthiodd ei wynebpryd ef ac y llidiodd wrth *Abel* nes ei ladd. Gen. 4, 5, 8.

*Abel gwedi marw yn llefaru etto* mae ei fiampl yn ein dyfgu ni i fyw trwy ffydd ar Grift croefhoeliedig, fel y byddom gyfiawn a duwiol yn y byd fydd yr awr hon. *Mae efe 'n cael llefaru am dano*, fef ei ffydd a'i ffrwythau, fydd wedi eu nodi i lawr yn yr Yfgrythyr, yn llefaru 'n uchel ar bawb a'u clywo, neu a'u darlleno, am fod yn ddilynwŷr iddo. Mae ei waed ef yn dywedyd yn uchel am ddïal ar Cain y llofrudd melldigedig. Gen. 4, 10. Heb. 12, 24. Dat. 6, 10.

Yr oedd ein Iefu bendigedig, yn cael ei gyfgodi yn y cynferthyr hwn. Efe a dyfodd megis gwreiddyn o dir fych; ymddangofodd mewn cyffelybiaeth cnawd pechadurus; nid oedd na phryd na thegwch arno megis y dymunent ef: Efe yw bugail mawr y defaid, bugail ac esgob eneidiau, yr hwn a roddes ei einioes tros fywyd y defaid. Ei farwolaeth greulon ef gan ei frodyr yr Iuddewon; ac er creuloned fu 'r weithred, o dywallt y gwaed dwyfol a phur ar Galfaria; "mae efe 'n dywedyd pethau gwell na 'r eiddo *Abel*," yn lle gwaeddi am ddial fel gwaed *Abel*, mae gwaed Iefu yn dywedyd o Dad maeddu iddynt. Heb. 12, 24.

Mae 'n clirio newidio nod,
Gwaed *Abel* o'r gydwybod.

(2.) ABEL. Yr hwn a elwid hefyd *Maes Jofua*. Lle yn agos i Bethfemes, a alwyd felly mewn coffadwriaeth o alar yr Hebreaid am eu cyf-

eillion a laddesid am edrych i mewn i'r Arch. Ymddengys hefyd fod maen mawr wedi ei godi er coffadwriaeth o'r tro rhyfedd hwn. 1 Sam. 6, 18, 19.

(3.) ABEL-MISRAIM, [*galar yr Aiphtiaid*] yma y galarwyd uwch ben corph Jacob. Y lle hwn a elwid gynt, *Llawr dyrnu Atad.* Gen. 50, 11.

(4.) ABEL-MEHOLA, [*galar gwan*] dinas oedd yn sefyll o du 'r gorllewin i'r Iorddonen. 1 Bren. 19, 16. Yn agos i'r fan yma y cafodd Gedëon fuddugoliaeth ar ei elynion, Barn. 7, 22. ond ei anrhydedd pennaf hi oedd fod Eliseus y prophwyd wedi bod yn byw ynddi. 1 Bren. 19, 16.

(5.) ABEL BETHMAACA, [*galar i dŷ Maaca*] dinas gadarn oedd yn sefyll ar gyfer mynydd Libanus. Y ddinas hon a waredwyd trwy gyngor gwraig ddoeth i dorri pen Seba mab Bicri (yr hwn oedd yn ymguddio ynddi) a'i daflu tros y mur i Joab; felly y cafodd y ddinas lonydd. 2 Sam. 20, 14.

ABER, ffrwd fechan o ddwfr. 2 Sam, 17, 20. 2 Cron. 32, 20. Y mae *Aberoedd* hefyd yn arwyddo helaethrwydd. Job 20, 17.

ABERTH. (1.) Aberthu sydd weithred grefyddol, trwy ba un yr oedd yr Iuddewon crefyddol, yn dwyn rhyw greadur glân at yr offeiriad i'w Aberthu drostynt: fe fyddai perchennog yr *Aberth* yn dodi ei ddwylaw ar ei ben ef, wedi eu golchi, gan gyffesu ei drosedd, a'i fod ef yn haeddu marw yn ei le. Yna lleddid y creadur ac y llosgid ef ar yr allor.

Yr *Aberthau* oeddynt o amryw fath, megis *Aberth* tros gamwedd, *Aberth* hedd, *Aberth* diolch, &c. Y cwbl yn cyfeirio at Grist (a'r efengyl) yr hwn yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder i bob un sy 'n credu; yr hwn unwaith yn niwedd y byd, a ymddangosodd i ddilëu pechod trwy ei *aberthu* ei hun; canys âg un offrwm y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio; a chwedi iddo roi pen ar yr holl *aberthau* trwy aberthu *un*, sef ei hunan; fe eisteddodd yn dragywydd ar ddeheulaw Duw. Heb. 9, 26 a'r 10, 12, 14. (2.) Yr holl waith deddfol. Preg. 5, 1, Hos, 4, 19. (3,) Ein holl wasanaeth ysprydol, a'n dyledswyddau Crist'nogol. Rhuf. 12, 1. Sal. 51, 17. 1 Pedr 2, 5.

Yr oedd yr *aberthau* a orchymmynodd Duw, yn cael dywedyd yn eu herbyn gan y prophwydi, (1.) Am eu bod yn boddloni ar farwolaeth y Creadur, heb olygu OEN DUW yr hwn oedd i dynu ymaith bechodau 'r byd. (2.) Am eu bod yn meddwl, nid yn unig cuddio eu beiau, Jer. 10, 4, 10. ond talu iawn i Dduw trostynt. Math. 6, 5, 6. *Edr.* OFFRWM. Amser y boreuol *aberth* oedd 9 o'r boreu, Prydnawnol *aberth,* 3 o'r prydnawn.

ABIA, [*Duw yw fy nhad*, neu *ewyllys Duw*] (1.) Mab Samuel. Efe oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd, am gymmeryd gwobr er gŵyro barn. 1 Sam. 8, 2. 1 Cron. 6, 28. (2.) Mab Jeroboam, yr hwn yn unig a gafodd ras o'i deulu ef. Yr hwn hefyd a fu farw yn ol gair y prophwyd, a bu galar mawr am dano. 1 Bren. 14, 1. 18. (3.) Gwraig Ahaz, mam y brenin Hezecïa; mae rhai 'n meddwl ei bod hi 'n ferch i Zecharïa 'r Arch-offeiriad, yr hwn a laddodd y brenin Joas. 2 Cron. 29, 1.

ABIALBON, [*tad fynwyrol* neu *bennaeth yr adeilad*] un o gedyrn Dafydd. 2 Sam. 23, 21. Gelwir ef hefyd *Abiel*. 2 Cron. 11, 32.

ABIATHAR, [*tad rhagorol*] y defed Arch-offeiriad, ond y pedwerydd ar ol Eli. Efe a ffôdd ymaith rhag ofn Saul at Ddafydd a'i wŷr; a Dafydd a ymofynodd â'r Arglwydd trwyddo ef. 1 Sam. 22. Tybir mai efe a roddodd y bara gofod i Ddafydd pan oedd newyn arno. Marc 2, 26.

ABIB, [*tywyfen fawr*, neu *ffrwyth addfed*] y feithfed mîs o'r flwyddyn Iuddewaidd. Yr oedd hwn yn cynnwys ynddo ddeng niwrnod ar hugain; ac yn cyfattebi i'n lleuad Fawrth ni. Yn nghanol y mis hwn y byddai 'r Iuddewon yn dechreu ar eu cynhauaf. Ar y 10 dydd o hono y cymmerwyd yr Oen Pafg, a'r pedwerydd ar ddeg y bwyttafant y pafg. Ecf. 12, 13. Ar y 15fed dydd y cafglent yfgub flaen-ffrwyth eu haidd, a'r 16 yr offryment hi. Lef. 26, 4, 14. Yn y mis hwn yr offrymodd Iefu ei hun, yn flaen-ffrwyth, o gynhauaf mawr ei etifeddiaeth. Ioan 18, 28.

ABIDAN, [*fy nhad fy farnwr*] tywyfog y Benjaminiaid. Num. 1, 11. 2, 24.

ABIEL, [*fy nhad yw Duw*] tad Cis a Ner, a thaid Saul brenin cyntaf yr Iuddewon. 1 Sam. 9, 1. un arall o'r enw. 1 Cron. 11, 32.

ABIESER, [*fy nhad yw fy nghymmorth*] un o lwyth Manaffe, o dref Anathoth, yr hwn oedd un o gedyrn Dafydd. Jof. 17, 2. Barn. 6, 34.

ABIGAIL, [*llawenydd y tad*] (1.) Chwaer Dafydd Gwraig Iether. 1 Cron. 2, 17. (2.) Gwraig Nabal. Yr oedd hon yn wraig fynhwyrol a doeth iawn; ond er hynny hi a brïododd y gloddeftwr cyfoethog Nabal. Pan glywodd hi fod dinyftr yn dyfod am ben ei gwr a'i theulu, hi a aeth i gyfarfod Dafydd â gweifion ac âg anrhegion mawrion: Hi a adroddodd ei hachos o'i flaen ef mor bwyllog, fynwyrol a doeth, fel y dyhudwyd ei lid; a hi a gafodd ffafr yn ei olwg ef. Hi a ddychwelodd i fynegi i'w gŵr y perygl yr oeddynt wedi bod ynddo, trwy ei ynfydrwydd ef; a'r modd yr oedd hi gwedi rhagflaenu 'r aflwydd: Pan fynegodd hi iddo, fe aeth y peth fel faeth trwy ei galon ef; ac ynghylch pen y

deng niwrnod efe a fu farw. Cyn pen hir gwedi hyn hi a bríodd Ddafydd. 1 Sam. 25,

ABIHU, [*efeyw fy nhad*] mab Aaron. Ecf. 6. 32. Lef. 10, 1.

ABIMELEC, [*fy nhad fy frenin*] brenin y Philiftiaid, yr hwn oedd yn trigo yn Gerar. Pan welodd efe degwch pryd Sara, fyrthiodd mewn cariad mawr â hi, a chwedi iddo glywed gan Abraham mai ei chwaer ef ydoedd efe a'i dug hi i'w dŷ, ar feddwl ei phriodi. Ni oddefodd Duw iddo gyd-orwedd â hi, eithr a'i rhag-rybuddiodd ef mewn breuddwyd yn ei chylch. Tranoeth efe a ddychwelodd â Sara at Abraham, gan ei ger-yddu am y dwyll a wnaethai; er hynny yn rhoi iddo anrhegion mawrion. Ac Abraham a weddïodd ar Dduw; a Duw a iachodd *Abimelec*, a'i wraig, a'i forwynion; a hwy a blantafant. O herwydd yr Arglwydd a gauafai ar bob croth yn nhŷ *Abimelec*, o achos Sara gwraig Abraham. Gen. 20. (2.) Un arall o'r enw, mab i'r cyntaf fel y tybir; yr hwn hefyd a ger-yddodd Ifaäc am wadu ei wraig. Adnewyddodd y cyfammod a wnaethai ei dad âg Abraham. Gen. 26. (3.) Mab Gedëon o'i ordderch-wraig; dyn drygionus iawn, a gwaedlyd erchyll; i'r dyben iddo ef gael ffordd rydd i'r orfedd i lywodraethu Ifrael, fe laddodd ddeg a thrugain o'i frod-yr: A gwraig o ben y tŵr yn Thebez (yr hwn yr oedd efe 'n ymofod yn ei erbyn) a daflodd ddarn o faen melin ar ei ben ef, ac a ddrylliodd ei benglog, fel y dymunodd ar gludydd ei arfau ei orphen; rhag i'r gair fyned allan, mai gwraig a'i lladdodd ef. Barn. 9.

ABIRAM, [*tad goruchel*] mab Elïab. Efe â'i frodyr Dathan, a Chora, a wrthryfelafant yn erbyn Mofes ac Aaron, am yr awdurdod a roddafai Duw iddynt: Am hynny efe a'i holl deulu, â'r hyn oll a feddent, a lyngcodd y ddaear, digynafant yn fyw i uffern. Num. 16, 27, 33. (2.) Mab hynaf Hïel y Betheliad, efe a gollodd ei fywyd pan oedd ei dad yn fylfaenu muriau Jericho. 1 Bren. 16, 34.

ABISAG, [*anwybodaeth fy nhad*] y llengces a gafwyd i gynhefu, ac i ymgeleddu Dafydd yn ei henaint. 1 Bren. 1, 4.

ABISAI, [*anrheg fy nhad*] nai Dafydd. Rhyfelwr cadarn; efe fu daer iawn am gael Saul yn yfglyfaeth iddo. 1 Sam. 26, 9. 1 Cron. 2, 16.

ABISUA, [*tad iechydwriaeth*] mab Phinees. 1 Cron. 6, 4.

ABIUD, [*gogoniant fy nhad*] mab Zorobabel. Math. 1, 13.

ABNER, [*canwyll y tad*] mab Ner, ewythr y brenin Saul, a thywyfog ei lu ef. Rhyfelwr creulon yn erbyn Dafydd a'i wŷr: ar ol marw Saul efe a wnaeth Ifboleth yn frenin, ac am faith mlyneredd a ddaliodd deulu

Saul i fynu yn erbyn Dafydd. Pan ddarfu Isboseth geryddu *Abner* fe geisiodd fyned mewn cyfammod â Dafydd, ond Joab a'i lladdodd ef. Dafydd a anrhydeddodd *Abner* â chladdedigaeth ardderchog, yn Hebron, a bu wylo a galarnad mawr. 2 Sam. 2, a 3.

ABRAM, [*tad derchafedig*] mab Tera. Fe fu gyd â theulu ei dad yn Ur y Caldeaid ynghylch deng mlynedd a thrugain, ac mae 'n debygol, yn cyduno â hwynt mewn eilun-addoliaeth. Ar ol marwolaeth ei frawd Haran, ymddangosodd yr Arglwydd iddo, gan beri iddo ymadael â gwlad ei enedigaeth, ac efe a aeth i Haran; ac yno y bu farw ei dad: a Duw a ymddangosodd drachefn i *Abram*, gan sicrhâu iddo y byddai ei had ef yn llïosog iawn, ac yn fendith i'r holl genhedloedd o amgylch: gorchymmynodd i *Abram* hefyd ymadael â thŷ ei dad, ac â'i genedl, a myned i'r wlad a ddangosai Duw iddo. Abram ar air Duw a ufuddhaodd, ac a aeth allan, efe a Sarai ei wraig, a Lot ei nai a'u holl eiddo, ac a gychwynasant tua Chanaan, heb adnabod y wlad, na 'r ffordd i fyned iddi chwaith. Gen. 9, 26, 32. a 12, 1, 5. Deut. 26, 5 Jos. 24, 2. Act. 7, 2, 4. Heb. 9, 8. Pan aeth efe tros yr Iorddonen i Ganaan, efe a adeiladodd Allor yno, a'r Arglwydd a ymddangosodd iddo drachefn, gan gadarnhâu ei addewid o'r blaen iddo, a chan sicrhâu y cai 'r wlad honno fod yn eiddo ac yn etifeddiaeth i'w had ef. Gyd â ei fod yn derbyn yr addewid, dyma newyn mawr yn codi yn y wlad, fel y gorfu arnynt ei gadael hi, a myned i'r Aipht, lle cyttunodd efe â Sarai, i wadu eu priodas, a bu agos i Sarai gael ei halogi o'r achos. Dechreuodd y newyn beidio yn Nghanaan, dychwelodd *Abram* yno at yr allor a gyfodasai, yn agos i Bethel, ac a offrymodd arni aberth, o ddiolchgarwch am ei waredigaethau, a'i ddychweliad llwyddianus. Aeth ymrafael rhwng bugeiliaid Lot, a bugeiliaid *Abram*, fel y bu orfod arnynt ymadael â'u gilydd. Fe roddes *Abram* i Lot ei ddewis gwrr o'r tir i drigo ynddo; er fod un yn fynydd-dir gwael, a'r llall yn wastadedd hyfryd a ffrwythlon: Lot a ddewisodd y tir goreu: gyd â bod Lot yn ymadael, dyma Dduw yn ailsicrhâu ei addewid i *Abram*, y byddai i'w had ef feddiannu yr holl wlad honno. Yn mhen ychydig, dyma 'r newydd yn cael ei ddwyn i *Abram*, fod Lot ei nai wedi cael ei ddal yn garcharor; a'i holl feddiant wedi cael ei ddwyn oddi arno; eithr *Abram* a aeth allan gyd â i weision, a rhai o'i gymmydogion, ac a drawodd elynion Lot, ac a'i mynodd ef, a'i deulu, a'i holl eiddo yn rhydd drachefn. Gen. 14.

Sarai wedi deall mai had *Abram* a etifeddai wlad Canaan, o herwydd ei bod hi mor hên, ac nad oedd tebygoliaeth yn ol deddf natur, iddi

fod yn fam; hi a gymmerodd ei llaw-forwyn Agar ac a'i rhoddes hi i *Abram*, yntau a aeth i mewn atti hi, a hi a feichigodd ac a esgorodd ar fab ac efe a alwodd ei enw ef Ismael. I gadarnhâu ei gyfammod âg ef, ac i'w wahaniaethu ef a'i deulu oddi wrth genhedloedd eraill; ac i'w selio hwynt fel etifeddion yr addewidion; fe orchymmynodd iddo efe ei hunan, a holl wrywiaid ei dylwyth a'i had, enwaedu eu blaen-groen. Efe a newidiodd ei enw ef yn ABRAHAM, yr hyn sy 'n arwyddocêau, *Tad llawer*. Newidiodd hefyd enw Sarai yn Sara, yr hyn sy 'n arwyddocêau, *arglwyddes* neu *feistres*. A hi 'n awr yn ddeg a pedwar ugain oed, efe a roddes addewid y byddai iddi fab, ac yn hwn y bendithid holl genhedloedd y ddaear.

Yn y flwyddyn O. y B. 2108 fe anwyd Isaac, er llawenydd nid bychan i *Abraham* a Sara. Gwedi iddo dyfu i fynu o gylch pump, neu ddeg ar hugain oed, Duw a orchymmynodd i'w dad ei offrwm ef yn boeth offrwm, ar un o'r mynyddoedd. Abraham a ufuddhaodd, a gododd yn foreu, gyfrwyodd ei Asyn, ac a gymmerodd Isaac, a gweision gyd âg ef; a chymmerodd gyllell, tân a choed: yn mhen tridiau y daethant i Moria. Gwedi rhwymo Isaac, a'i ddodi ar uchaf y coed, *Abraham* yn estyn ei law i gymmeryd y gyllell i'w ladd, angel yr Arglwydd a'i rhwystrodd ef; *Abraham* a ganfu hwrdd wedi ei ddal erbyn ei gyrn mewn drysni, ac efe a'i cymmerodd yn boeth offrwm yn lle ei fab, &c.

Gwaith nesaf Abraham oedd claddu Sara, hi a fu farw yn Hebron: prynodd faes Macpela, am 60 punt (o'n harian ni) i'w chladdu hi. Ynghylch tair blynedd gwedi hyn, yr anfonodd Eliefer ei was, i ymofyn gwraig i Isaac o blith ei genedl ei hun. A'r flwyddyn ganlynol, *Abraham* ei hun a brïododd Cetura: bu iddo chwech o feibion o honi. Pan oedd O. y B. 2183, bu *Abraham* farw, yn y 175 flwyddyn o'i oes; a chladdwyd ef yn ogof Macpela, gyd â Sara ei wraig. Gen. 23, a'r 24, a'r 25.

Yr oedd Iesu Grist yn cael ei gysgodi 'n rhyfedd, yn y Patriarch ardderchog hwn. Mor rhyfeddol ei larieidd-dra, ei gariad a'i diriondeb i ddynion; ei gyfeillach gyd â 'i ofn, ei ufudd-dod i, a'i ymddiried yn ei Dduw!

Efe yw dewisol anwylyd y nef; Tad a phen cyfammod anerif filiynau o ddynion cadwedig. Iddo ef y gwnaed yr holl addewidion. Efe (mewn rhyw ystyr) ar alwad ei Dad, a adawodd drigfa ei ogoniant, ac a ddaeth yn ymdeithydd ar y ddaear heb le i roi ei ben i lawr. Efe, mewn ufudd-dod i alwad ei Dad, a'i hoffrymoddd ei hun yn aberth cymmeradwy gan

Dduw o arogl peraidd; gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu 'r groes. Trwy ei eiriolaeth gyfiawn, effeithiol, a pharhâus yn y nef; â dylanwadau goruwchnaturiol ei Yspryd; efe a wared ei eiddo o ddwylaw eu holl elynion.

Rhifedi mawr o Iuddewon a chenhedloedd sydd yn ei deulu gweledig ef, plant y gaethes yn cyd-drigo tros dro, gyd â phlant y wraig rydd, ond ni chyd etifeddant. Y mae 'r hen gyfammod o weithredoedd, fel Agar: yn cenhedlu i gaethiwed a thristwch: ond y mae plant Iesu 'n rhyddion, gwedi eu geni o Dduw, trwy rym yspryd yr addewid; a chanddynt hawl i'r etifeddiaeth a'r ddinas-fraint nefol. Nid trwy weithredoedd y ddeddf, y daeth, nac y daw neb, i gael hawl i fywyd tragywyddol; ond y rhai a gawsant, ac a gânt, wir hawl i fywyd, trwy ffydd yn Nghrist; y maent yn dyfod i fyw (o'u bodd) wrth reolau 'r gyfraith, a hynny fel tyst, o'u ffydd fywiol yn Nghrist, a'u bod wedi eu dwyn o fod yn ddieithraid a gelynion, i deulu Duw.

*Had Abraham:* Sylwedd dynol neu natur hiliogaeth *Abraham.* Heb. 2, 16. *Eithr had Abraham a gymmerodd efe.* Y mae 'r gair gwreiddiol *(gymmerodd efe)* yn arwyddoccâu *cymmeryd gafael ar un sy 'n diangc neu mewn perigl:* mae hyn yn atteb yn y lle hwn; nid yw Crist yn gwaredu 'r angylion, ond had Abraham, sef Dyn, pan oedd efe 'n diangc oddi wrtho ef. Gen. 3, 8.

ABREC, [*plyg-wch y glin*] (Iaith yr Aipht) eithr yn ol yr Hebraeg *tad tirion.* Enw a orchymmynodd Pharao ei gyhoeddi o flaen Joseph, er anrhydedd a pharch iddo. Gen. 41, 43.

ABSALOAM, ac ABSALOM, [*heddwch y tad*] trydydd mab y brenin Dafydd. Yr oedd efe 'n un o'r dynion teccaf a welwyd erioed ar wyneb daear. Efe a dorai ei wallt bob blwyddyn, ac yr oedd 'n pwyso dau can sicl, ynghylch chwe phwys gyd â ni. 2 Sam. 3, 3. a 14, 25, 27. Efe a geisiodd fyned yn frenin. Aeth i mewn at ordderch-wragedd ei dad. Pan oedd efe yn rhyfela yn erbyn ei dad, yn nghoed Ephraim; yn marchogaeth ar ful tan dewfrig derwen fawr, ei ben a lynodd yn y dderwen, fel yr oedd efe rhwng y nefoedd a'r ddaear; a'r mul oedd dano aeth ymaith; ac yno y bu efe ynghrôg, nes dyfod o Joab a'i wanu yn ei galon, a'i langciau ef a'i lladdasant. A Dafydd a alarodd am dano, âg wylofain chwerw. 2 Sam. 18, 9, 33. *Edr.* AHITOPHEL.

ABSENNOL, allan o olwg. Gen. 31, 49. Col. 2. 5. Y saint ar y ddaear sy 'n *absennol* oddi wrth yr Arglwydd; nid ydynt yn mwynhâu

undeb digyfrwng, a chymdeithas âg Ieſu Griſt, ac â Duw ynddo ef, fel y rhein'y ſy yn y nefoedd. 2 Cor. 5, 6. Phil. 2, 12.

ABSENNU, enllibio, neu ddywedyd yn ddrwg am un yn ei gefn, pa un bynnag fydd ai gwir ai anwir: y mae 'r gair yn yr iaith wreiddiol, yn arwyddoccâu *Troedio*, neu *olrhein, canlyn ol y troed; yſpïo i.* Felly mae 'r abſennwr yn chwilio ol traed ei frodyr, a'i gymmydogion; i edrych a a gaiff efe hyd iddynt yn llithro yn unlle. Nid ceryddu ei frawd yn ei wyneb, rhyngddo âg ef ei hun, yn *breſennol* a wna efe: ond yn ei gefn, yn ei *abſennoldeb*, y dywed ei fai. Sal. 15, 3. Gelwir ef yn athrodwr. Dïar. 25, 23. Nid yw Duw yn caniattâu lle iddynt yn ei Dŷ.

ACELDAMA, [*maes y gwaed*] dywedir ei fod yn ſefyll o du 'r deau i Jeruſalem, ac mai yr un yw a Maes y Pannwr. Eſay 7, 3. Pan ddygodd Judas y deg ar hugain arian yn ol, y rhai a gawſai efe am fradychu ei feiſtr, yr arch-offeiriad a'r llywodraethwŷr a gymmeraſant arnynt, nad oedd gyfreithlon eu bwrw i'r dryſorfa ſanctaidd, gan mai gwerth gwaed oeddynt; a phrynaſant â hwynt y maes hwn i gladdu dieithriaid ynddo; felly y galwyd ef yn faes y gwaed. Zec. 11, 12. Mat. 27, 8. Act. 1, 19. Y mae teithwŷr yn dywedyd yn ſicr, fod goruwch adeilad arno 'n breſennol; a bod y dwfr mewn deuddydd neu dri yn difa cyrph y meirw.

ACAIA, [*blinder*] gwlad y Groegiaid yn Ewrop. Y ddinas bennaf ynddi gynt oedd Corinth. 2 Cor. 1, 1. Fe fu Paul yn pregethu 'r efengyl yma 'n hir, efe a ſylfaenodd yma amryw eglwyſi. Act. 18, 1, 12. 2 Cor. 9, 2.

ACAN, [*blinderus*] un o lwyth Juda, yr hwn wrth gymmeryd Jericho a guddiodd y dïofryd-beth yn llawr ei babell; a gorfu ar Iſrael o'r achos, ffoi o flaen eu gelynion. Cafwyd ef allan wrth fwrw coel-brennau, cyfaddefodd ei fai, a thebyg iddo wir edifarhâu: Dygwyd y lledrad allan ger bron yr holl gynnulleidfa: Yna efe a'i blant â'i holl anifeilaid, er dychryn i eraill, a labyddiwyd â meini i farwolaeth; a lloſgwyd eu cyrph hwynt â thân wedi eu llabyddio, yn nyffryn Acor. A chodaſant arnynt garnedd fawr o gerrig. Joſ. 7. Fe 'i gelwir ef hefyd ACAR yn 1 Cron. 2, 7.

ACBO, [*Llygoden*] tad *Baalhanan*. Gen. 36, 38. Hefyd mab Micaia, 2 Bren, 22, 12. yr hwn hefyd a elwid Abdon. 2 Cron. 34, 20.

ACHAU, cofreſtr cenhedliad, pa lwyth neu deulu a oedd ein cenedl ni ac eraill. Num. 1, 18. Ezr. 8, 1. Heb. 7, 3. *Edr.* CENHEDLAETH.

ACHOS, cwyn, dadl. Esay 1, 23. Ecs. 22, 9. (2.) Rheswm. 1 Sam. 17, 29. (3.) Er mwyn. Gen. 3, 17. 2 Cor. 7, 12. (4.) Bai a heurir. Act. 22, 24.

ACHUB, dwyn o, a chadw yn, wyneb perygl. Mic. 5, 6. Heb. 11, 7. (2.) Cadwedigaeth amserol a thragywyddol. Ioan 3, 17. Joel 2. 32. yr Arglwydd yn unig yw 'r *achubydd*, amserol a thragywyddol, Zec. 9, 9. Tit. 3, 4. *Edr.* CEIDWAD.

ACHWYN, beio ar weithred neu gyflwr un arall. Barn. 21, 22. Act. 27, 7.

ACIS, [*felly mae* neu *sicr yw*] brenin Gath. 1 Sam. 21, 10. Fe ffôdd Dafydd i Gath rhag cael ei erlid gan Saul. Mynegwyd i'r Brenin mai efe a laddasai Golïa; eithr Dafydd er mwyn ei gadw ei hun a gymmerodd arno ynfydu: Efe a ddywedodd wrth ei weision nad oedd achos iddynt ei ofni ef, ac nad oedd arno yntau ddim eisiau ynfydion chwaith: Gorchymmynodd iddynt ei fwrw ef allan o'r ddinas. Yn mhen o gylch pedair blynedd, dychwelodd Dafydd yn ol i Gath, cafodd dderbyniad yno; rhoddwyd Siclag, un o'u dinasoedd hwynt, iddo ef â'i filwŷr i drigo ynddi. Tywysogion Acis yn gwrthod cymmorth Dafydd; yntau yn ei ganmol ac yn ei ollwng ef ymaith. 1 Sam. 21.

ACOR, [*trallod, neu flinder*] dyffryn yn agos i Jericho, lle y llabyddiwyd Acan. "Dyffryn *Acor* yn ddrws gobaith," Hos. 2, 15. "a gorweddfa gwartheg." Esay 65, 10. Hyn oedd yn arwyddoccâu y byddai diwedd ar ofidiau 'r saint. Ordinhadau a dylanwadau gras Duw, yn rhoi ymborth heddychol i'w bobl ef, i'w cefnogi am y gwynfyd nefol: megis mai yma yr ymfyddinodd yr Israeliaid gyntaf, yr hyn oedd iddynt hwy yn ernes gobeithiol, o gael llawn feddiant o wlad yr addewid. Jos. 7.

ACTAU, neu *weithredoedd yr apostolion;* hanes ysprydol o'u gweithredoedd, a'u dyoddefiadau, ar ol derchafiad Crist ein Harglwydd i'r nefoedd. Y mae yma hanes am blaniad, a threfniad, yr Eglwys Grist'nogol, am ynghylch deg ar hugain o flynyddoedd. Ac nid os gennym un hanes arall a ellir ei gwbl gredu, heblaw hwn tros fwy na dau cant o flynyddoedd. Rhai hereticiaid a godasant yn foreu, yn erbyn yr hanes hwn: eraill a 'sgrifenasant lawer ar yr enw hwn, ond ni dderbyniodd yr eglwys ond hon yn unig, o 'sgrifeniad St. Luc. Act. 1.

ACWILA, [*eryr*] Iuddew a anwyd yn Pontius. Efe â'i wraig Priscila oeddynt yn gweithio pebyll lledr, i luoedd y Rhufeiniaid. Hwy a ddychwelwyd yn foreu i'r ffydd grist'nogol, fe allai mai trwy bregeth

Pedr ar ddydd y Pentecoſt yn Jeruſalem. Hwy a fuant yn trigo yn Rhufain nes eu gyrru oddi yno gan Claudius. Hwy a ddaethant i Gorinth, lle bu Paul yn llettua, ac yn cyd weithio pebyll â hwynt. Daethant oddi yno i Ephefus, lle buant ddiwyd i ddyſgu Apolos yn ffordd yr Arglwydd yn fanylach. Hwy a aethant drachefn i Rufain, lle y buant yn cadw tŷ cyfarfod i'r Criſt'nogion, yno y cyfarchwyd hwynt gan Paul yn ei epiſtol at yr eglwys. Dychwelaſant i Aſia, a thrigaſant yn, neu 'n agos i Ephefus; ac oeddynt yno pan 'ſgrifenodd Paul ei ail epiſtol at Timotheus. Act. 18. Rhuf. 16, 4. 2 Tim. 4, 19.

ADA, [*cynnulleidfa o bobl*] gwraig Lamec. Gen. 4, 19. Eſ. 36, 2. *Edr.* LAMEC.

ADADA, [*tyſt o'r cyfarfod*] enw dinas yn llwyth Juda. Joſ. 15, 22.

ADAIA, [*tyſt yr Arglwydd*] Lefiad. 1 Cron. 6, 41. 2 Bren. 22, 1.

ADALIA, [*tlodi, neu gyrchiad dwfr*] mab Haman. Eſt. 9, 8.

ADAMANT, un o'r gemawl feini caletta, a'r gwerthfawroccaf. Os rhwbir ef mewn peth meddal efe a oleua mewn tywyllwch: Efe a dery dân o'r dur. Hwn oedd y maen gwerthfawr cyntaf o'r ail res yn nwyfroneg yr arch-offeiriad. Ecſod. 28, 18. Talcen Ezeciel oedd wedi ei wneuthur yn debyg i *Adamant* o blegid iddo gael ei ddonio â hyfdra nefol, i fynegi cenadwri Duw wrth yr Iuddewon. Ezec. 3, 9. Dywedir nad ellir ei dorri âg arf, ac na thynerir mo'no chwaith â thân; ond gwres yr haul trwy wydr, neu waed geifr a'i tyrr ef. Fe ddywedir gan *Zecaria*, fod calonnau dynion pechadurus fel *Adamant*. adn. 7, 12. Ni thyrr bygythion a barnedigaethau Duw mo honynt; ac ni's toddir hwynt trwy ei drugareddau, ei wahoddiadau, a'i addewidion, nes y delo gwres Haul y cyfiawnder i mewn, taenelliad o waed Ieſu, a thywalltiad o'i gariad ef ar led trwy 'r Yſpryd Glân. Pechodau Juda a *'ſgrifenwyd â phin o haiarn, ag ewin o adamant*. Eu tueddiadau llygredig oeddynt gwedi dwfnwreiddio a ſefydlu yn eu calonnau; a'u holl feiau oeddynt wedi eu nodi gan Dduw, na's gellid eu dileu. Jer. 17, 1.

ADAR, [*goruchel*] enw mis Iuddewig cyfatebol i Chwefror a rhan o Fawrth; yr oedd ynddo naw ar hugain o ddyddiau. Ar y trydydd dydd o hono y gorphenwyd ac y cyfegrwyd yr ail Deml. Ezra 6, 15. y 14 o hono ef yr oedd dyddiau 'r Pwrim. Eſt. 6, &c. (2.) Enw Dinas yn Juda. Joſ. 15, 3.

ADAR, ehediaid yr awyr. Gen. 15, 10. Salm 5, 11. Y mae naturiaethwŷr yn bwrw fod ynghylch dau can math o honynt: Nid oedd dim ond turturod a cholomenod ieuaingc yn cael eu harfer yn y gwaſanaeth

Lefiticaidd; oddieithr *adar* y to yn nglânhad y gwahanglwyf. Y ddau aderyn a gymmerid wrth lanhâu y gwahanglwyf; un o honynt a leddid mewn llestr pridd oddi ar ddwfr rhedegog, a chymmerid yr aderyn byw, a throchid ef yn ngwaed yr aderyn a leddid, yna gollyngid yr aderyn byw yn rhŷdd ar wyneb y maes: mae hyn yn o debyg ei fod yn gysgod o ddwy natur Crist, yn ei farwolaeth a'i adgyfodiad; efe a fu farw tros ein pechodau ni, i'r hyn y mae 'r aderyn a laddwyd yn cyfatteb; efe a gyfododd drachefn oddi wrth y meirw, trwy waed y cyfammod tragywyddol, er ein cyfiawnhâd; o'r hyn yr oedd yr aderyn byw yn gysgod. Y trochi mewn gwaed a ymddengys ei fod yn cyfeirio at ddau destyn yn y Testament Newydd. Iöan 19, 34. 1 Iöan 5, 6.—Dynion yn gyffredinol ydynt debyg i *adar*. Y maent yn weiniaid, yn hawdd eu magiu, ac yn crwydro 'n aml. Dïar. 6, 5. a 7, 23. a 31, 6. Dan. 2, 38. Mae 'r saint yn debyg i *adar*, yn weiniaid, hawddgar, bwyiog, ac yn agored i orthrymder ac ymlid, yn cael aml a rhyfedd waredigaeth o faglau; ac yna y canant yn beraidd ganiadau o fawl; yn nghangenau Iesu pren y bywyd. Can. 2, 12. Ezec. 17, 23. Salm 124, 7. Anghristiau a osodir allan fel *adar asian a châs*, o herwydd eu gorthrymder, eu creulondeb, a'u haflendid mewn athrawiaeth a buchedd. Dat. 18 2.

ADAM, [*daear goch.*] dinas oedd yn sefyll o du 'r dehau i fôr Tiberias. Yn agos yma y safodd dyfroedd yr Iorddonen yn bentwrr, tra y bu 'r Israeliaid yn myned trwodd. Jos. 3, 16. a 19, 19, 33. *Edr.* ADMA.

ADAMI, [*fy nyn*] dinas. Yr un ag ADAM, medd rhai Jos. 19, 36.

ADDA, [*y dyn*] *Adda* (Adam yn Hebraeg) yw 'r enw a roddwyd gan Dduw ar ein rhïeni cyntaf: " Yn wrryw ac yn fanyw y creodd efe hwynt: ac efe a'u bendithiodd hwynt, ac a alwodd eu henw hwynt *Adda* (Adam) ar y dydd y crewyd hwynt." Gen. 5, 2. Mae 'n debygol ei fod yn dyfod oddi wrth y gair *Adama* sef daear (goch medd rhai) o ba un y ffurfiwyd y dyn. Y mae 'r gair *Adam* yn sefyll am ddyn yn gyffredinol, o bob rhyw, gwrryw a banyw; ond yn neillduol ein cyndad *Adda*. Fe syn rhai fod y gair yn tarddu oddiwrth wreiddyn arall, sef *Dam*, *Tebygoliaeth*; o herwydd creü 'r dyn ar ddelw Duw. Gen. 1, 27. Ar y chweched dydd y gwnaeth yr Arglwydd ddyn mewn Gwybodaeth, Cyfiawnder, a gwir sancteiddrwydd, ac a'i gosododd ef yn ngardd Eden, i'w llafurio a'i chadw hi, a chyflawn-ryddid iddo gael mwynhâu ei ffrwyth hi; " ond o Bren Gwybodaeth da a drwg, na fwytta o hono; canys yn y dydd y bwyttei o hono, gan farw ti a fyddi farw." Yr oedd efe 'n awr gwedi ei osod yma ar gyfammod o weithredoedd, i arwyddo, mai ar am-

mod o'i berffaith ufudd-dod i bob gorchymmyn o'r gyfraith ddwyfol, y cai efe, a'i holl hiliogaeth, eu gobrwyo â bywyd a dedwyddwch, naturiol, yfprydol a thragywyddol; ond os pallu y wnai, ei fod yn agored i farwolaeth naturiol, yfprydol a thragywyddol, â'r hyn y cydfyniodd efe. Gen. 2, 17.

Y Dydd hwnnw Duw a'i gofododd ef yn ben ar byfgod y môr, ac ar ehediad a holl greaduriaid y ddaear. *Adda* a gafodd y fraint o roddi enwau arnynt oll, yn ol eu naturiaethau. Yr oedd hyn yn dangos perffeithrwydd ei natur â'i wybodaeth yn neillduol; pan allai efe dreiddio trwy naturiaethau, a holl anfawdd y creaduriaid i gyd, heb gyfeiliorni, na chamfyniad mewn un o honynt. Ni bu un naturiaethwr tebyg iddo byth ar ei ol, heb fon am Grift. Etto ni chafodd efe yn mhlith yr holl greaduriaid, er lliofoced oeddynt, un ag oedd yn ymgeledd gymmwys, addas a chyfattebol iddo ei hun. Yr oeddynt i gyd yn rhy ifel a gwael, o gwmni, i Oruchwyliwr Duw, a Brenin y Greadigaeth. A'r Arglwydd Dduw a roddes drym-gwfg ar *Adda*, ac efe a gymmerodd un o'i afennau, ac a'i gwnaeth yn wraig, ac a'i dug hi atto ef. Gen. 1 a'r 2. Salm 8, 4, 7. Satan yn fuan a ddechreuodd genfigennu wrth happufrwydd, a dedwyddwch y dyn, aeth i chwilio moddion i'w gael allan o ffafr ei greawdr, ac yn ganlynol o'i holl dedwyddwch. Am fod y farph yn gyfrwyfach nâ holl greaduriaid y maes, efe a gymmerodd honno yn offerynol i dwyllo 'r wraig, i fwytta o ffrwyth y pren a waharddafai Duw iddynt fwytta o hono: hithau a gymmerodd o hono ac a fwyttaodd, ac a roddes i'w gwr hefyd gyd â hi, ac efe a fwyttaodd: Yna daeth euogrwydd ac ofn i ymaflyd ynddynt. Clywfant lais yr Arglwydd yn yr ardd gyd âg awel y dydd, yn ymofyn am danynt: Maent yn ymefgufodi——Duw 'n rhoi cerydd llym iddynt, a barn drom arnynt, etto trugaredd yn gymmyfgedig; trwy chwys dy wyneb y *bwytei*, nid pridd, ond bara; ac wrth y wraig y dywed efe, mewn poen y dygi *blant*, etto *plant* a fyddant hwy, nid gwiberod. Ond efe a felldithiodd y farph a melldith dragywyddol; gan roddi addewid i *Adda* y byddai i had y wraig 'figo ei ben ef, &c. Adda a genhedloedd feibion a merched, oll ar ei ddelw ei hunan. Efe a fu fyw Naw cant a deg ar hugain o flynyddoedd; ac efe a fu farw. Gen. 3, a 5, 5.

Iefu Grift a elwir yr *Ail Ddyn*, oblegyd ei debygolrwydd i'r cyntaf. Efe yw tragywyddol ac unig Fab Duw; Gwir lun ei Berfon ef, a dyfgleirdeb ei ogoniant. Efe yw cynnrychiolwr ei bobl, a phen y cyfammod mawr o ras. Fel yr oedd y cyntaf yn cyfrannu ei lygredd i'w holl

hiliogaeth, felly o'i gyflawnder ef y derbyn ei holl hiliogaeth etholedig ef, a gras am ras. Efe trwy ei haeddiant yn ei fywyd â'i angeu, a enillodd iddynt Baradwys well; efe a erys ynddi, ac a drin yr holl ardd ei eglwys; mae ganddo awdurdod i roddi i'w holl blant, fwytta o bren y bywyd, yr hwn fydd ynghanol paradwys Dduw. Hwn trwy ragderfynedig gyngor Duw, a fwriwyd i drym-gwfg marwolaeth ar Galfaria, ac yr agorwyd ei yftlys fanctaidd ef â gwayw-ffon: y ffurfeiddiwyd ei eglwys yn ddyweddi bur, ac yn brïod ddihalog iddo ef; ac efe a lŷn wrthi am byth; er ei mwyn hi, efe a ymadawodd un waith, â hyfryd drigfannau gogoneddus tŷ ei Dad. Yn awr y mae wedi gadael ei Fam, fef eglwys a chenedl Juda. 1 Cor. 15, 22. 45, 49.

ADDAS, cymmwys. Mat. 3, 8. Col. 1, 10. Eph. 4, 1. *Edr.* CYMMWYS.

ADDEF, cyffefu, Parhâu er pob gwrthwynebiadau, i wrando Gair, fylwi ar Ordinhadau, a rhodio yn Ffyrdd Duw. Luc 12, 8. Dïar. 28, 13. *Edr.* CYFFESU.

ADDEWID, gair y fydd yn paffio rhwng gŵr a gŵr, er cyflawniad o ryw bethau cyfreithlon; megis mewn bargenion, prïodafau, ynghŷd âg amryw achofion eraill y bywyd hwn; y cyfryw a wnaeth Laban i Jacob, am roddi iddo ei ferch; Saul i Ddafydd, Dafydd i Jonathan, &c.

(2.) Gair Duw a roddwyd i ddynion, er cyflawniad o ryw ddaioni a lles iddynt, neu fymmud ymaith ryw ddrwg, yfprydol neu gorphorol. Salm 119, 103. Dylai hyn ddwyn ar gôf i ni, ei gariad rhad yn ethol, ei wirionedd yn ficrhâu, a'i allu i gyflawni yr hyn a addâwodd. Ef. 10, 11. Y mae ei *addewidion* ef o ddau fath, ammodol, a dïammodol. Ammodol, pan fyddo Duw yn addaw bywyd ar ammod o gyflawni 'r gyfraith. Lev. 18, 5. Yn ail, addewidion dïammodol; yr hyn a ddywedodd Duw o'i rad gariad, a'i ewyllys da, a wnai efe i bechadur heb haeddu dim, ond damnedigaeth a phoen. Fe roddes Duw addewid i Adda yn wyneb ei drueni gwaeddfawr, o Grift Had y wraig. Gen. 3, 15. Nid oedd ynddo un haeddiant, na theilyngdod i annog Duw i roddi *addewid* o'i Fab iddo; ond i'r gwrthwyneb. Felly mae 'r addewidion yn fawr iawn ac yn werthfawr, gwedi eu rhoddi ar fylfaen gwell nag ufudd-dod dyn, fef ewyllys da Duw, a'i foddlonrwydd yn ei Fab; yn yr hwn y mae 'r holl *addewidion* yn ïe, ac yn Amen. 2 Cor. 1, 20.

Y Prif *addewidion* ydynt am ddaioni yfprydol, megis am undeb â Chrift. Hof. 2, 19, 20. Ef. 54, 5. *addewidion* o'r Yfpryd. Ezec. 37, 27. Dïar. 1, 24. Cyfiawnhâd. Ef. 1, 18. a 43, 25. a 44, 22. a 45, 24, 25. Mab-

wyſiad. Jer. 31, 9. 2 Cor. 6, 18. Sancteiddhâd, cyfnewidiad natur a bywyd. Ezec. 11, 19, 20. a 36, 26, 27. Gwybodaeth yſprydol. Dïar. 2, 3, 6. Iago 1, 5. Am ffydd. Iöan 6, 37. Eph. 2, 8. Am Edifeirwch. Rhuf. 9, 26. Ezec. 16, 62, 63. a 20, 43. Am garu Duw. 2 Theſſ. 3, 5. Deut. 30, 6. Am ofn mabaidd. Hoſ. 3, 5. Jer. 32, 39, 40. Am ufudd-dod newydd. Deut. 30, 8. Am obaith. 2 Theſſ. 2, 16. Rhuf. 15, 4. Am heddwch a llawenydd. Eſ. 57, 18, 19. a 26, 3. Salm 46, 10. 96, 11, 12. Am barhâd anffaeledig mewn cyflwr o ras. Jer. 39, 40. Iöan 4, 11. a 16, 19. a 10, 27, 28. Am farwolaeth wynfydedig. Dat. 14, 13. Ac am dragywyddol wynfyd. Eſ. 35, 10. 2 Tim. 4, 8.

ADDFWYNDER, llarieidd-dra, lledneiſrwydd, tymer yſpryd i ddyoddef cam ac anmharch, heb ddigio ac ymddïal. Num. 12, 3. Mat. 5, 5. 1 Cor. 4, 21. Gwneuthur daioni i'r rhai a'n caſânt, gorchfygu drygioni trwy ddaioni. Rhuf. 12, 19. Y mae IESU GRIST yn ſiampl i ni. Mat. 11, 29. (2.) Parodrwydd ewyllyſgar i dderbyn gair Duw. Salm 25, 9. Iago 1, 21.

ADDOLIAD, plygiad gyd â goſtyngeiddrwydd a pharch. (1.) Ufudd-dod parchedig i un o awdurdod neu werth. Mat. 9, 18. a 18, 26. Luc 16, 10. (2.) Ymoſtyngiad allanol mewn crefydd i gydnabod mawrhydi Duw. Mat. 4, 10. Dan. 3, 5. 12, 14. (3.) Anrhydedd tufewnol y galon, mewn crefydd, yn cydnabod, yn ymddiried i Dduw, yn ei ofni, a'i garu, a pharchu ei fawrhydi. Iöan 4, 24. Gwir *addolwŷr* Duw yw y rhai a adnewyddwyd yn yſpryd eu meddwl, i *addoli* 'r Tad mewn Yſpryd ac mewn gwirionedd, canys y cyfryw y mae 'r Tad yn eu ceiſio i'w *addoli*. Iöan 4, 23. Gelynion yr eglwys a ddeuant i *addoli wrth ei thraed hi*, pan y maent yn ymoſtwng i'w hawdurdod, ac yn dangos parch dyladwy iddi. Dat. 3, 9. *Addoli y Bwyſtfil a'r Ddraig*, yw mawrhâu pabyddion, a phabyddiaeth; ac uno â'u defodau a'u cyfreithiau coelgrefyddol, pechadurus a chableddus. Dat. 13, 4. Mae dynion yn *addoli cythreuliaid*, pan y maent yn proffeſſu gau athrawiaeth, caru a mawrhâu delwau a dewiniaeth, &c. Dat. 19, 20. Deut. 32, 17.

ADDUNED, addewid bwyſig a wneir i Dduw, o ddïolch am ei ddaioni, naill ai â geiriau, neu fawl, neu offrymmu rhyw beth at ei wasanaeth. Salm 50, 14. Preg. 5, 5. Deut. 23, 21. Hwy a wneid gynt trwy weddi. Gen. 28, 20. A hwy a delid gyd â dïolchgarwch. Salm 61, 5. Eu talu a ofynid. Deut. 23, 23. Pob ymroad ac *adduned* a ddylid eu profi wrth air Duw, yr achos a'r drefn. 1 Theſſ. 5, 21. *Edr.* TYNGU.

ADDURNO. (1.) Goreuro, neu wiſgo peth âg aur. 2 Cron. 3, 6.

(2.) Crëu Goleuadau 'r ffurfafen a'u trefniadau. Job 26, 13. (3.) Gwyngalchu a threfnu beddau. Mat. 23, 29. Luc 11, 4. (4.) Trwfiad harddwych a wifgai merched yr Iuddewon gynt. Ef. 3, 18.

ADDYSG, hyfforddiad, trefn, dygiad i fynu yn ol trefn a rhëol gair Duw. Diar. 1, 7, 8. Salm 50, 17. Eph. 6, 4. Mae mewn addyfgu argyhoeddi, hyfforddi, a cheryddu. Argyhoeddi, dangos y bai; Hyfforddi, arwain y meddwl at, ac agor y deall mewn rhinwedd; Ceryddu, am lynu wrth y bai, a phallu yn y rhinwedd. Mae Duw yn argyhoeddi, ac yn ceryddu, y fawl y mae efe yn ei garu. Heb. 12, 6. Dat. 3, 19.

ADEILADU. (1.) Gwneuthur Tŷ neu fur, trwy gafgliad a gofodiad ynghŷd amryw ddefnyddiau addas. Deut. 28, 30. Mat. 7, 24. (2.) Llwyddo achofion teulu neu deyrnas; yr hyn ni ddichon neb ei wneuthur ond yr Arglwydd. Salm 127. Pan fonir am Dduw 'n *adeiladu*, dynion, dinafoedd, muriau, &c. Y meddylir, eu cynnal a'u helaethu. Job, 22, 23. Jer. 18, 9. Sal. 51, 18. Fe adeiladir eglwys Dduw, gan yr Yfpryd Glân; trwy athrawiaeth yr efengyl; ar Grift fel ei fylfaen; a gweinidogion y gair yw 'r offerynnau. Mat. 16, 18. Eph. 2, 20, &c. (3.) Cryfhâu a chynghori ein gilydd yn y Ffydd Grift'nogol. 1 Cor. 3, 10. Col. 2, 7. (4.) Cyfodi eglwys o'r cenhedloedd i uno â'r Iuddewon yn addoliad Duw. Can. 8, 9.

ADEILADAETH. (1.) Tŷ o waith dwylaw dynion. Ezr. 5, 4. (2.) Cynghorion trwy Yfpryd Duw i'r faint. 1 Cor. 4, 3. 1 Tim 1, 4. (3.) Eglwys a phobl Dduw ar y ddaear. 1 Cor. 3, 9. (4.) Y brefwylfod wynfydedig mewn gogoniant. 2 Cor. 5, 1.

ADEILAD-WYR. (1.) Duw yt hwn a wnaeth bob peth trwy ei air. Gen. 1, 3. Heb. 11, 10. (2.) Gweinidogion ffyddlon yr efengyl y rhai fy 'n adeiladu 'r faint ar haeddiant Crift fel eu fylfaen. 1 Cor. 3, 10. (3.) Llywodraeth achofion tymhorol. Sal. 127, 1. (4.) Yr Iuddewon, y rhai a wrthodafant Grift, pen congl-faen, a fylfaen fafadwy ei eglwys Sal. 18, 22. 1 Pedr 2, 7. *Edr.* MAEN.

ADENEDIGAETH. (1.) Gwaith yr Yfpryd Glân ar eneidiau 'r etholedigion, y rhai y bu Crift farw troftynt, i droi ymaith ddigofaint dwyfol oddi wrthynt, ac i haeddu iddynt fywyd yn ffafr Duw: y mae efe yn cyfrannu ei ras, a'i anian nefol i'w heneidiau trwy ei Yfpryd.

Megis y derbyniafom oddi wrth Adda, gyfrifiad o'i bechod a'i drofedd, fel yr ydym yn drofeddwŷr o'r bru, ac felly yn agored i ddigofaint a dialedd Cyfiawnder Duw: Ac y derbyniafom gyfraniad o'i lygredd ef, fel canghennau yn derbyn nodd o'r gwreiddyn, fel yr ydym yn llygredig

yn ein cenhedliad. Salm 51, 5. Felly mae 'n rhaid i bob un a gedwir i fywyd tragywyddol, gael cyfrifiad o gyfiawnder Crist, dros eu trosedd a'u bai, i'w dwyn i gyflwr o gymmod, a heddwch Duw; a chyfranniad o rasusau ac anian Crist, i sancteiddio a chyfnewid calon a bywyd. Mae yn y *geni drachefn* neu 'r *adenedigaeth* gyfnewidiad ysprydol, trwyadl, yn holl genheddfau 'r enaid; mae 'r meddwl yn cael ei wneuthur o newydd; yn cael ei ddonio â goleuni ysprydol, mae 'n ymgyffred, yn barnu, yn parchu, yn dychymmygu, yn chwilio, yn ymresymmu, ac yn astudio ar fatterion a gwrthrychau newyddion, ac mewn dull cwbl newydd: Mae 'r gydwybod yn cael ei hadnewyddu, trwy daenelliad o waed Iesu, yn ofni Duw fel Tad (nid fel gelyn) yn cael ei llywio a'i haddysgu gan ei Yspryd ef; yn cael ei dal a'i threchu trwy ddylanwadau effeithiol cariad y nef; mae tueddiadau newyddion yn cael eu gweithredu yn yr ewyllys, yr hwn oedd o'r blaen yn gyndyn, mae fe 'n awr yn cael ei wneuthur yn ufudd, ac ynddo fwriadau, dewisiad, dyfyrrwch ac amcan newydd; ac ynddo allu newydd, ar y serchiadau, a'r chwantau cnawdol; mae 'r serchiadau yn cael eu hadnewyddu a'u hunioni o ran eu gwrthrychau, ac yn eu trefn a'u graddau; mae 'r côf yn cael ei adnewyddu, a'i gymmwyso i ddal, ar wirioneddau Duw, a gweithrediadau melys ei gariad; mae 'r corph hefyd yn cael ei adnewyddu i gyflwr o ymostyngiad i'r enaid, a'i waith yn ei holl aelodau fel arfau cyfiawnder i Dduw. Tit. 3, 5. 2 Cor. 5. 17. Gal. 6, 15. Iöan 3, 4, 5.

Y moddion trwy ba rai y mae Duw yn gweithio 'r cyfnewidiad rhyfedd hwn ar enaid pechadur, yw trwy 'r gair, ac yn fwya enwedigol y gweinidogaethiad o hono: "Gwedi eich ail-eni nid o had llygredig, eithr anllygredig, trwy air Duw." 1 Pedr 1, 23. "O'i wir ewyllys yr enillodd, neu y cenhedlodd efe nyni, trwy air y gwirionedd." Iago 1, 18. "Cyfraith yr Arglwydd fydd berffaith, yn troi, yn adferu, neu 'n dychwelyd yr enaid." Salm 19, 7. "Mysi a'ch cenhedlais chwi y'Nghrist trwy 'r efengyl." 1 Cor. 4, 15.

(2.) ADENEDIGAETH. Dydd y farn ddiweddaf, pan fyddo ein holl naturiaethau wedi eu hadnewyddu 'n berffaith, enaid a chorph; i feddiannu 'r etifeddiaeth nefol. Math. 19, 28.

ADENYDD. (1.) Esgyll, rhannau o adar, â pha rai y maent yn ehedeg i'w hamddiffyn eu hunain, ac yn diogelu a chynesu eu rhai bach. Math. 23, 27. (2.) Amddiffyniad yr Hollalluog Dduw, tan yr hwn yr ymgudd ei bobl, ac y byddant ddiogel. Salm 17, 8. a 91, 14. Ruth 2, 12. (3.) Cysgod pennaethiaid, &c. Ruth 3, 9. (4.) Gogoneddus obaith y

ſaint ar y ddaear ſydd fel *adenydd* arian; eu cariad a'u ſêl tu ag at Dduw a'i ogoniant, ſydd fel *eſgyll* o aur melyn. Salm 68, 13. (5.) Hwyliau llongau, neu gyſgod mynyddoedd. Eſay 18, 1. Pan ſonir am eſgyll tir neu wlad yn cyſgodi, y meddylir lluoedd o elynion creulon. Eſay 8, 8. Jer. 42, 40. Dywedir ſod Criſt "yn marchogaeth ar *adenydd* y gwynt," i ddangos cyflymdra 'r Arglwydd, i wneuthur barn a thrugaredd. Salm 18, 10. 104, 3. Wrth *adenydd* Cerubiaid a Seraphiaid, a chreaduriaid byw, y dangoſir parodrwydd Angylion a gwir athrawon at waith Duw. Eſay 6, 2. Ezec. 1, 8, 9, &c. Wrth adenydd y ſaint y meddylir, ffydd a chariad â pha rai yr ehedant i ſynu at Dduw. Eſay 40, 31.

ADERYN Y TO, ehediad adnabyddus. Efe a gâr ei ryw, fel y cais eu hachub o law 'r gelyn, gochel ſaglau, ceidw ei nyth yn lân, hoff ganddo gymdeithas dynion, efe a eilw ei gyfeillion i gael rhan o'i ymborth. Salm 84, 3. a 102, 7. Gwerthid dau o honynt er dwy ffyrling. Math. 10, 29. Luc 12, 6. Gan fod Duw yn gofalu trwy ei ragluniaeth am danynt hwy, pa faint mwy y gofala efe am werth gwaed ei Fab.

ADFERU, ail oſod pethau yn eu lle, a'u trefn gyſeſin. Eſay 1, 26. Dan. 9, 25. Zeph. 3, 9. *Adferiad pob peth.* Perffeithiad teyrnas Criſt ar y ddaear; rhyddhâu 'r holl greadigaeth oddi wrth drym-lwyth pechod. Act. 3, 21. "Mae 'r holl greadigaeth yn cyd-ocheneidio, ac yn cyd-oſidio hyd y pryd hwn." Rhuf. 8, 21. *Edr.* TALU ac ADGYWEIRIO.

ADFYD, helbul a blinder, Yſprydol a thymhorol, ſydd yn ſynych y'mhlith y duwiolion. Eſay 26, 16. Luc 16, 25. Heb. 11, 25.

ADGENHEDLU, gweithred yr Yſpryd Glân trwy weinidogaeth y gair, yn cenhedlu y dyn newydd, neu 'n creu 'r creadur newydd, yn ol Duw, yn Dduwiol, mewn cyfiawnder a gwir ſancteiddrwydd: Cyfodi 'r ddelw honno 'n ol, a gwympodd ac a gollwyd yn Eden, a'i goſod yn yr enaid. "Od oes neb y'Nghriſt y mae efe 'n greadur newydd." Eph. 4, 24. 2 Cor. 5, 17. *Edr.* ADENEDIGAETH.

ADGYFODIAD, neu gyfodiad oddi wrth y meirw, ſydd naill ai 'n (1.) Gwladaidd, pan adferir perſon neu genedl, o gyflwr o adgyd a chaethiwed, megis yn achos Dafydd, Hezecia, Paul. Salm 25, 3, 4. Eſay 38, 16. 2 Cor. 1, 9, 10. am y genedl Iuddewig. Galarn. 4, 20. Hoſ. 6, 1, 2. Ezec. 37, 1—14. (2.) Yſprydol, o gyflwr o farwolaeth mewn pechod, i fywyd yſprydol a dedwydd; yr hyn ſydd yn neillduol i ddynion pan ail-enir hwynt, Iöan 5, 25. Eph. 2, 1, 5. Col. 2, 12. neu am yr eglwys, pan trwy effeithioldeb a rhinwedd, aberth ac eiriolaeth Criſt, y byddo chwanegiad grymus at ei haelodau. Eſay 60, 1. Rhuf. 11, 15.

Dyma 'r adgyfodiad cyntaf. Dat. 20, 1—8. (2.) Rhyfeddol allu Duw yn bywhâu a chyfodi 'r meirw, i fyw byth, eneidiau a chyrph. Iöan 12, 24. 1 Cor. 15, 36. *Iesu a gyfododd yn flaen-ffrwyth y rhai a hunasant;* ac amryw ynghylch yr un amser ag ef a gyfodasant, a thebyg na welsant lygredigaeth mwyach. 1 Cor. 15, 20. Math. 27, 52.—IESU GRIST a elwir yr *adgyfodiad*, sef yr achos o hono. Iöan 11, 25. Efe yw 'r hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhâu ni. Rhuf. 4, 25. Dïammau mai 'r un corph ag a aeth i lawr i'r bedd a adgyfodir. Job 19, 25. Ac i bob hedyn ei gorph ei hun. 1 Cor. 15, 38. Luc 14, 14. Iöan 5, 29. Act. 23, 6. Heb. 6, 2. Oni bâi fod yr un corph yn cael ei gyfodi, creadigaeth newydd a fyddai. Wrth *adgyfodiad bywyd*, y meddylir mai 'r duwiol a gyfodir yn gyntaf, mewn trefn ogoneddus i fwynhâu happusrwydd a dedwyddwch tragywyddol! Wrth *adgyfodiad barn* y meddylir, cyfodiad y rhai drygionus i dragywyddol boen a gwradwydd; pan roddo uffern yr eneidiau sydd ynddi, a'r môr a'r tir y cyrph sydd ynddynt. Iöan 5, 28, 29. Dat. 20, 12, 13, 14. *Adgyfodiad y cnawd* a wedid gan y Saduceaid. Math. 22, 23. A rhai hefyd yn mhlith y crist'nogion. 1 Cor. 15, 12. Yr Atheniaid a'i gwatwarent. Act. 17, 32. Rhai eraill a heurent ei fod gwedi darfod eisoes. Phil. 3, 11.

ADIEL, [*tystiolaeth Duw*] enw un o hiliogaeth Simeon. 1 Cron. 4, 36.

ADLA, [*tyst i mi*, neu *fy addurn*] un o swyddogion Dafydd. 1 Cron. 27, 29.

ADMA, [*daearol, coch-ddaear*] un o'r dinasoedd a ddystrywiwyd gyd â Sodom. Gen. 10, 19. Hos. 11, 8.

ADMATHA, [*cysgod angeu*] tywysog Ahasferus. Est. 1, 14.

ADANA, [*gorphwysfa* neu *dystiolaeth dragywyddol*] cynnorthwywr Dafydd. 1 Cron. 12, 20.

ADNABOD, y mae amryw eiriau o'r un ystyr, megis gwybod, deall, canfod, &c, y mae amryw arwyddoccâd iddynt. Ruth 3, 11. (1.) Cymmeryd sylw o beth. Act. 13, 27. Rhuf. 1, 21. (2.) Cymmeradwyo 'n garedigol. Gen. 18, 19. Salm 1, 6. Gofalu am, a gwneuthur daioni i eraill. Iöan 10, 27. 1 Thes. 5, 12. (3.) Meddiannu peth yn eiddo i ni. Salm 50, 11. Amos 2, 3. (4.) Yr arfer gyfreithlon o'r wraig. Gen. 4, 1. 17. (5.) Y pechod yn erbyn nattur. Gen. 19, 5. Barn. 19, 25. Bod heb adnabod, sy 'n dangos gwrthodiad a dirmyg. Math. 7, 23. a 25, 12. Y mae amryw fath o adnabod Duw a Christ. (1.) Credu fod Duw; ac mai efe yw Iesu. Luc 12, 47. Marc 1, 24. 1 Iöan 2, 4. Dichon dynion drwg, a chythreuliaid, adnabod felly. Rhuf. 1, 21. (2.) Credinieth

wirioneddol, fod y Duw yma yn Dduw ac yn Dad i ni, a'r Iesu yma yn Iachawdwr i ni; oddi ar hyn y cyfyd gobaith, cariad, ac ufudd-dod, iddo ef a'i air Iöan 17, 3. 1 Iöan 2, 3. (3.) Deall ewyllys Duw, trwy weledigaethau, a breuddwydion. 1 Sam. 3, 7. (4.) Mewn cyflawn berffeithrwydd, er tragywyddol ddedwyddwch i ni ein hunain. 1 Cor. 13, 12. Adnabod pechod, ydyw 'teimlo 'r drwg a'r perygl sydd ynddo. Rhuf. 3, 20. a 7, 7. *Edr.* GWYBÓDAETH.

ADNEWYDDU, adferu peth i'w gyflwr dechreuol. (1.) Y cyfnewidiad a wna 'r Yspryd Glân ar eneidiau 'r gwaredigion. Col 3, 10. *Edr.* ADENEDIGAETH. (2.) Ail enyn a threfnu yr hyn a wnaed o'r blaen. Rhuf. 12, 2. Tit. 3, 4. Sal. 51, 10. (3.) Gosod a chadarnhâu peth. 1 Sam. 11, 14. (4.) Dwyn i well cyflwr. Galarn. 5, 21. (5.) Adfywhâu. Salm 103, 5. (6. Gwneuthur peth o newydd. Salm 10, 30.

ADREF, 1 Sam. 7, 14. 1 Bren. 17, 7. Dïar. 7, 20. *Edr.* CARTREF.

ADONIA, [*fy Arglwydd sydd reolwr*] mab Dafydd. 2 Sam. 3, 4.

ADONIBEZEC, [*Arglwydd Bezec* neu 'r *taranau*] Brenin drwg. Jos. 1, 6.

ADONICAM, [*yr Arglwydd a'm derchafodd*] Ezra 2, 13.

ADONIRAM, [*fy Arglwydd sydd uchel*] derbyniwr teyrnged Salomon, a chyfarwyddwr deng mil ar hugain o wŷr i dorri coed yn Libanus, at waith y deml fawr yn Jerusalem. 1 Bren. 5. 14.

ADORAIM, [*nerth y môr*] dinas yn Juda. 2 Cron. 11, 9.

ADORAM, [*eu moliant*] derbyniwr teyrnged Dafydd. 2 Sam. 20, 24.

ADRAMELEC, [*mawredd y brenin*] mab Senacerib brenin Assyria; yr hwn a alwyd felly o barch i'w ddelw. Tybir ei fod yn aberthu ei feibion i'r eilun; lladdwyd ef wrth aberthu yn nhŷ Nisroc ei dduw. 2 Bren. 19, 37. Esay 37, 38.

(2.) ADRAMELEC ac ANAMELEC, duwiau Sepharfaim yn ol iaith y Persiaid, y rhai sydd yn arwyddoccâu *brenin y praidd*, ac yn ol iaith yr Arabiaid, yn agos yr un peth. Mae 'n debygol eu bod yn cael eu haddoli er mwyn llwyddiant ar y praidd. Pa dull oedd arnynt ni chyttûnir: ond, y rhan fwyaf sydd o'r farn, mai 'r haul ar lleuad oeddynt; oblegid y mae 'r Cenhedloedd yn eu galw, rheolwŷr, a duwiau 'r holl fyd. 2 Bren. 17, 31.

ADRAMITTIUM, [*llys angeu.*] (1.) Dinas o du 'r dehau i Affrica, a gorllewin yr Aipht. (2.) Dinas o Mysia yn Asia leiaf. Mewn llong oddi yma y bu Paul yn mordwyo o Jerusalem i Rufain. Act. 27, 2.

ADRIA, dinas gerllaw Ffenics. Fe fu Paul mewn tymeſtl fawr yma. Act. 27. 27.

ADRIEL, [*praidd Duw*] gwr Mical merch Saul. 2 Sam. 21, 8.

ADULAM, [*tyſt*, neu *eu haddurn*] dinas hyfryd a elwid *Gogoniant Iſrael.* Mic. 1, 15. Yr oedd hi 'n ſefyll o du 'r dehau-orllewin i Jeruſalem. Yn agos yma y bu Dafydd mewn ogof. 1 Sam. 22, 1. Hi a fu 'n ddinas barchus ynghylch pedwar can mlynedd ar ol genedigaeth Criſt; eithr yn awr y mae hi 'n anghyfannedd.

ADUMIM, [*cochion*, neu *rai gwaedlyd*] mynydd a dinas yn agos i Jerico yn rhandir llwyth Benjamin. Yr oeddynt yn ſefyll ar y ffordd o Jeruſalem i Jerico; dywedir fod yno lawer o yſpeilwŷr, ac i'r lle gael yr enw o'r achos. Joſ. 15, 7. a 18, 17. Oddi wrth y lle hwn y cymmerodd yr Ieſu ddammeg y gwr a ſyrthiaſai yn mhlith lladron. Luc 10, 30—36.

ADWY, Bwlch, neu ddrylliad mewn clawdd neu fur. Y gau brophwydi Iuddewaidd ni *ſafaſant ar yr adwyau* na 'u cau hwynt chwaith; ni wnaethant ddim tu ag at rwyſtro rhedfa anwiredd, yr hwn oedd yn agor drws i ddialedd Duw dorri i mewn am ben eu cenedl: Mab Duw 'n unig oedd o anfeidrol allu i ſefyll ar yr adwy, i droi ymaith ddigofaint dwyfol. Ezec. 13, 5. a 22, 30. *Cyfodi 'r adwyau*, cynnorthwyo ac ymgeleddu, mewn cyfyngder a chyni. Eſay 44, 6. Amos 9, 11.

AELOD, (1.) Un o rannau ein cyrph naturiol megis, troed, llaw, &c. 1 Cor. 12, 26. Rhuf. 12, 4. (2.) Holl egni corph ac enaid. Rhuf. 6, 12. a 7, 23. (3.) Y chwantau pechadurus ſydd yn ein natur lygredig. Col. 3, 5. Iago 4, 1. (4.) Yr holl ffyddloniaid y rhai a unwyd â Chriſt trwy ffydd. 1 Cor. 12, 17. Eph. 5, 30. Criſt a'i bobl a'u hyſtyried hwynt yn gorph; efe yw 'r pen hwythau yw 'r *aelodau*: Maent hefyd yn *aelodau* i'w gilydd; y maent gwedi eu huno âg ef fel eu pen, ac mewn undeb a'u gilydd fel ei aelodau ef. Eph. 4, 25. *Edr.* BRODYR.

AELWYD. (1.) Y lle 'r arferir llofgi tân arno. Eſay 3, 14. Jer. 36, 23. (2.) Eſgyrn y rhai cyſtuddiedig a gyffelybir i *aelwyd*: o blegid fod barnedigaethau Duw, â'u gofidiau tufewnol megis yn llofgi arnynt, yn eu gwneuthur yn ddigyfur. Salm 102, 3. (3.) Llywodraethwŷr Juda a fydd fel *aelwyd* danllyd yn mhlith coed, i ddifa eu gelynion o amgylch. Zec. 12, 6.

AERON, amryw ffrwythau coedydd hyfryd, megis afalau, &c. Dat. 18, 14.

AENEAS, [*canmoladwy*] enw dyn ol y Groeg. Act. 9, 33.

AFALAU, heblaw ffrwyth y pren afalau, addewidion a bendithion y cyfammod newydd a elwir *afalau;* am eu bod yn hyfryd er maeth, adfywiad, a iechyd enaid. Can. 3, 5. Anadl y ſaint a elwir felly; eu gweddïau gwreſog a'u hymddygiad ſanctaidd, ſydd gymmeradwy gan Dduw, a llefol i ddynion. Can. 7, 8. Gair mewn pryd ſydd fel *afalau,* aur; yn hardd, hyfryd, a maethgar i eraill. Dïar. 25, 11.

AFALLEN, pren ſydd yn dwyn ffrwythau ſurion, a feddylir yn gyffredin wrth *afallen;* ond yr ydym o'r meddwl yn breſennol, mai yr un yn ddiwahân, ydyw 'r *afallen,* a'r pren afalau; ond bod afallen yn y rhyw fanywaidd, a phren afalau yn yr wrrywaidd; wrth gydmaru 'r 2 Bennod o Ganiad Salomon, adn. 3, a Phennod yr 8 a'r 5, â Joel 1, 12. Yr un gair ſydd yn yr Hebraeg (*Taphoch*) yn y tri lle. Mae Awdwŷr yn amrywio llawer yn yr ymadrodd *Dan yr afallen y'th gyfodais;* rhai a fynant mai rhyw ſwyddog gwladol a feddylir; eraill mai eilun-addoliaeth; eraill mai Criſt ei hunan, yn cyfodi y rhai oedd yn aros dan ei *gyſgod ef,* megis Hoſ. 14, 7. Eraill mai 'r eglwys Iuddewig, â'r Cenhedloedd ſydd yn foddlon i fyw 'n ddeddfol a digyſur (Ezec. 16, 5.) megis yn ymguddio rhag Duw fel Adda a'i wraig gynt yn Eden. Gen. 3, 8.

AFFAITH, effaith; euogrwydd yw effaith neu affaith pechod. Deut. 21, 9.

AFLAFAR, anghydſeiniol, heb fod yn ſynio 'n ddeallus. 1 Cor. 14, 15.

AFLAN, (1.) peth budr halogedig. Mat. 23, 27. (2.) Dynion dieithr i Dduw a Iechydwriaeth. Joſ. 22, 9. (3.) Yr hyn a enillir trwy gamwedd. Job 31, 7. Hag. 2, 13. (4.) Heb hawl y'Nghriſt a'i ras. 1 Cor. 7, 14. (5.) Torwŷr y ſeithfed gorchymmyn, y rhai ſy 'n llygru cyrph ac eneidiau. Eph. 5, 5. Yr oedd amryw fath o affendid dan y gyfraith ſeremoniol. Lef. 5, 2. Yſprydol, 2 Pedr 2, 10. ac Ymarferol. Eſay 64, 6. Tit. 1, 15. Yr oedd pob math o rai *aflan* i'w cau allan o'r gwerſyll gynt, nes eu glanhâu. Num. 5, 23. Dyſgwn oddi yma ddau beth, (1.) Fod ein pechodau yn gyfiawn achos i Dduw ein bwrw ymaith byth. Dat. 21, 7, (2.) Fod pechaduriaid cyhoeddus i'w bwrw allan o gymdeithas y ffyddloniaid, nes y gwelir ynddynt edifeirwch a dychweliad at Dduw. 1 Cor. 5, 13.

AFON, (1.) ffrwd o ddwfr croyw yn rhedeg tua 'r môr. Gen. 2, 10. (2.) Holl bobl Dduw yn Juda a Jeruſalem. Salm 46. (3.) Addewidion y Gair, o ba rai y caiff y ffyddloniaid yfed yn helaeth a'u diwallu. Salm

23, 3. (4.) Helaethrwydd a llawnder. Job 29, 6. Salm 36, 8. (5.) Iachawdwriaeth gras Duw. Dat. 22, 1. (6.) Y gwlaw yn helaeth yn ei bryd, a elwir yn *afon* Duw. Salm 65, 9. (7.) Y môr coch. Salm 74, 15. Hab. 3, 8. Duw a gyffelybir i *afonydd*, mor fawr a helaeth yw 'r dylanwadau adfywiol mae efe 'n gyfrannu i'w bobl! mor gyflawn ei amddiffyn a'i ymgeledd iddynt. Esay 33, 21. Crist sydd gyffelyb i *afonydd dyfroedd* mewn sychdir; mor helaeth, rhad, a pharhâus, yw dylanwadau glanhaol ac adfywiol ei waed a'i Yspryd! Esay 32, 2. Yr efengyl a'i hordinhadau a'i bendithion, yr Yspryd Glân â'i effeithiol ddylanwadau, gorfoledd cyflwr nefolaidd, a gyffelybir i *afon*; i ddangos eu helaethrwydd eu purdeb, eu heffeithiau parhâus i lanhâu a phuro, i ymgeleddu ac amddiffyn y saint. Ezec. 47, 5—9. Iöan 7, 38. Joel 3, 18. Salm 46, 4. *Afonydd o ddwfr bywiol* yn dylifo o groth y saint, pan y byddo eu grasau tufewnol, yn torri allan i ymddangos mewn amledd o weithredoedd da. Iöan 7, 38.

AFRADLON, un yn gwastraffu trugareddau, megis bwyd, dïod dillad, &c. "*Afrad pob afraid.*" Dïar. 28, 7. Rhuf. 13, 13. 2 Pedr 2, 13. Luc 15, 13.

AFRLLAD, teisenau teneuon wedi eu tylino âg olew; Ecs. 29, 2. i'w harfer wrth gyssegru 'r Offeiriaid; ac hefyd yn fwyd offrwm; Lef. 2, 4. ac yn offrwm y Nazareaid. Num. 6, 15.

AFU, rhan dufewnol o ddyn ac anifail, dywedir mai yma y dechreu pob chwantau, mai dyma 'stafell y gwaed, a ffynnon y gwythïenau. Yr oedd y Caldeaid yn arfer dewiniaeth wrtho. Ezec. 21, 21. Wrth dywallt yr *afu*, y meddylir galar mawr. Galarn 2, 11.

AGEN, hollt. Ecs. 33, 22.

AGABUS, [*locustiaid*, neu *orfoledd y tad*] prophwyd a ragfynegodd am y newyn a ddigwyddodd yn nyddiau Claudius Cæsar B. yr A. 44. Act. 11, 28. Ynghylch B. yr A. 60, fe ymwelodd a Phaul yn Cesarea, ac a ragddywedodd y byddai iddo gael ei rwymo yn Jerusalem. Act. 21, 10. Mae hanesion yn dywedyd iddo gael ei ferthyru yn Antiocia.

AGAG, [*goruwch ystafell*] brenin Amalec. Mae 'n debyg fod hwn yn enw cyffredin ar y brenhinoedd hynny. Fe ymddengys fod un cadarn o honynt o'r enw hwn yn amser Moses. Num. 24, 7. Un arall yn amser Saul; yr hwn oedd elyn creulon, a gwaedlyd iawn. Pan orchymmynodd Duw i Saul ddyfetha holl genedl yr Amaleciaid, efe yn ei ragrith a arbedodd Agag â'r goreu o'r praidd: Eithr Samuel y prophwyd a'i darn-

iodd ef ger bron yr Arglwydd yn Gilgal. 1 Sam. 15, 8, 20, 32, 33. Gelwir Haman yn *Agagiaid*, mae 'n debyg o blegyd ei fod o'r un gwaed creulon â hwynt. Est. 3, 1.

AGRIPPA, mab Herod Agrippa: mae 'r enw yn arwyddoccâu, *Caled oedd esgor arno.* Efe a laddodd Iago, ac a garcharodd Bedr. Act. 12, 1, 2. Fe ddaeth o fewn ychydig i fod yn Gristion, wrth wrando ar Paul. Act. 25, a 26.

AGOR, (1.) gwneuthur rhyddid i fynediad a dyfodiad, agoryd drws i fyned i mewn ac allan. Nah. 3, 13. Act. 16, 26. (2.) Tynnu caead ymaith oddi ar wyneb, a chloddio pydew. Ecs. 21, 33. (3.) Deongli neu egluro peth. Luc 24, 32. Llygaid a chlustiau Duw yn agored, sy 'n arwyddo ei sylw craff ef ar ymddygiad dynion, ei fawr ofal am lês ei bobl, a'i barodrwydd i wrando eu gweddïau hwynt. Neh. 1, 6. Jer. 32, 19. 1 Pedr 3, 12. Wrth ei ddwylaw a'i drysorau yn *agored*, y dangosir helaethrwydd ei allu a'i ras, â'i barodrwydd i gyfrannu i'w greaduriaid. Salm 104, 28. Deut. 28, 12. Efe a *egyr ei wefusau* yn erbyn dynion, pan y byddo efe trwy air a rhagluniaeth, mewn modd eglur a nerthol yn eu hargyoeddi hwynt o'u heuogrwydd. Job 11, 5. Efe a *egyr galonnau,* pan oleuo efe lygaid y deall, i amgyffred gwirioneddau datguddiedig. Luc 24, 32, 45. Act. 26, 18. a 16, 14. Efe a *egyr glustiau dynion,* pan y mae yn eu dwyn yn ystyriol i wrando ei air a'i ragluniaethau. Job 36, 10. *Agor, cloddio,* neu *dyllu* clustiau Crist, a all fod yn dangos, ei barodwydd ef i gyflawni 'r gyfraith, a'i ufudd-dod ymostyngol yngwasanaeth y prynedigaeth. Salm 40, 6. Mae 'n *agoryd* gwefusau dynion, pan y mae'n rhoddi ei gynnorthwyon i weddïo, ac achos i foliannu ei enw. Salm 51, 15. Mae Duw yn *agor* i ddynion, pan y mae 'n gweled yn dda roddi iddynt ei bresennoldeb, a'i fendithion nefol. Math. 7, 7. Crist sydd yn *agoryd ac nid yw neb yn cau,* ac *yn cau ac nid yw neb yn agoryd;* efe a rydd yr efengyl, cadwedigol ras, neu freintiau eraill; neu efe a'u hettyl fel y gwelo fod yn dda. Dat. 3, 7. Dynion yn *agoryd eu calonnau,* neu *eu drysau* i Grist, sy 'n dangos eu parodrwydd i'w dderbyn ef trwy ffydd a chariad. Can. 5, 2, 6. Dat. 3, 20. Salm 24, 7, 9.

AGORIAD. (1.) offeryn i gloi ac i ddadgloi cloiau, barrau, &c. Barn. 3, 25. (2.) Gallu ac awdurdod, trwy ba un y ceuir dynion i fynu neu y rhyddheir hwynt. Rhoddi *agoriad tŷ Ddafydd* i Eliacim, rhoddi iddo awdurdod i oruchwyliaethu, a threfnu achosion yn nheyrnas Juda, fel swyddog gwladol i Hezecia, yr hwn oedd o hiliogaeth Dafydd. Esay 22, 22. Gan Grist y mae *agoriad Dafydd,* yr hwn y mae ganddo

bob awdurdod i gau ac agor fel y gwelo fe 'n dda. Dat. 3, 7. Math. 28. 18. Mae ganddo *agoriad y pydew diwaelod; uffern a marwolaeth;* sef awdurdod i ganiattâu neu rwystro, Satan a'i offerynnau fel y gwelo fe 'n oreu; ac i gadw rhag, neu gondemnio i farwolaeth ac uffern. Dat. 20, 1. a 1, 18. Doniau a chymmwysderau ac awdurdod i eglurhâu 'r ysgrythyrau i ddynion, a elwir *agoriad gwybodaeth.* Luc 11, 52. *Agoriadau teyrnas nefoedd,* ydynt allu ac awdurdod i bregethu 'r efengyl, ac i weinyddu y sacramentau, bedydd a swpper yr Arglwydd; ac i gadw llywodraeth a dysgyblaeth yn yr eglwys, fel y bo i ddynion gael eu derbyn i mewn iddi, neu eu bwrw allan o honi, wrth reol y gair. Math. 16, 19.

AGOS, (1.) lle gyferbyn neu ger llaw. Gen. 19, 2. Iöan 19, 20. (2.) *Agos* mewn perthynas, cyfathrach, Ruth 2. 20. Duw sydd *agos* at ei bobl yn mhob peth y galwont arno; yn bresennol ac yn barod i faddeu a chynnorthwyo. Salm 34, 18. 75, 1. Jer. 23, 23. Es. 55, 6. Deut. 4, 7. "*Agos* mewn genau a phell oddi wrth arennau," pan leferir llawer am Dduw, heb gariad na derbyniad i'w efengyl, nac ufudd-dod i'w orchymmynnion. Jer. 12, 2. *Nesâu* at Dduw, yw ei addoli ef trwy ffydd, a chael cymmundeb âg ef yn yr Yspryd Glân, trwy haeddiant ei Fab Iesu. Lef. 16, 1. 1 Sam. 14, 36. Seph. 3, 2. Blinder, neu gyfyngder sydd *agos,* pan y byddo 'n gweithredu, ac yn trywanu hyd yr enaid; neu bron a gwneuthur felly. Salm 22, 11.

AGUR, [*alltud* neu *gynnulledig*] mab Joce. Tybia rhai mai Salomon oedd efe: ond nid oes un rheswm pa ham y newidiai Salomon ei enw; nac ychwaith pa fodd y gallai weddïo yn erbyn cyfoeth; ac nid yw ei ddull ef o 'sgrifenu yn debyg i *Agur,* yr hwn trwy 'r Yspryd Glân a lefarodd y ddegfed bennod ar hugain o'r Dïarhebion, wrth ei ddau gyfaill Ithiel ac Ucal. Y mae efe yma yn cyffesu ei anwybodaeth dirfawr, o fawredd anchwiliadwy a rhyfeddol weithredoedd Duw; ei barch i air Duw, a'i ddymuniad am ran gymhedrol o bethau 'r byd hwn: Y mae 'n crybwyll am bedair cenhedlaeth ddrwg iawn, pedwar peth ni ellir eu digoni; pedwar peth rhyfedd; pedwar peth ni ellir eu dyoddef; pedwar peth doeth dros ben; pedwar peth hardd yn eu mynediad. Dïar. 30.

AGWEDD, llun, dull, ystum, delw. Job. 4, 16. Ezec. 1, 5. Crist yr hwn oedd wir *lun* Duw, a gymmerodd arno agwedd gwas; yr oedd efe 'n wir Dduw, yr un mewn natur â'r Tad, ac yn wir *lun* ei Berson; ac efe 'n ffurf Duw ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw; etto efe a'i darostyngodd ei hun i fod yn gaeth-was i gyfraith doredig, yn ein lle ni; ac a fu ufudd hyd angeu, ïe, angeu 'r groes. Phil. 2, 6,—8.

AG, Gyd â, neu trwy gymmorth. Ac a'u dug hwynt allan *âg* arian ac aur. Salm 107, 37.

AH, arwydd o alar mawr, a moleſt trwm. Barn. 11, 35. Oh! yr un. Jer. 22, 18.

AHA, Fe arferir y gair hwn yn yr un yſtyr ag AH; och fi, gwae fi; arwydd o ofn a galar. 2 Bren. 6, 15. Eſ. 1, 24.

AHAB, [*brawdy tad*] (1.) mab Omri, yr hwn a deyrnaſodd yn lle ei dad. Fe ddechreuodd deyrnaſu ar Iſrael O. y B. 3086, ac a deyrnaſodd 22 o flynyddoedd. Yr oedd efe yn mhell tu hwnt i holl frenhinoedd Iſrael, mewn annuwioldeb: yn ei amſer ef y bu dair blynedd a chwe mis heb ddim gwlaw ar y ddaear, Iago 5, 17. bu newyn mawr yn y tir o achos y ſychder. Fe roddes hynny yn gwyn yn erbyn y prophwyd, ac a chwiliodd yn ddyfal am dano i geiſio ei ladd. Cafwyd Elias i atteb troſto ei hun ger bron *Ahab;* ac a ddywedodd yn hyf wrtho, mai efe a'i deulu oedd yr achos o'r farn drom hon; trwy ymadael oddi wrth y Duw byw a myned ar ol Baalim. Fe ddymunodd ar *Ahab* gaſglu holl Iſrael, a holl brophwydi Baal, i fynydd Carmel: Fe gaſglwyd y bobl: hwy a alwaſant lawer ar Baal, ond yn ofer; Elias yn eu gwydd hwy oll, a ddangoſodd mai Jehofa oedd y gwir Dduw, ac nid Baal, trwy ddiſgyniad tân o'r nefoedd i yſu ei aberth ef. Lladdwyd 450: o brophwydi Baal: yn fuan gwedi hyn cafwyd gwlaw trwy weddi Elias. 1 Bren. 16, 29,—34. a 17, 18. Fe dreiſiodd Naboth o'i winllan; cafodd farn i'w chanlyn. 1 Bren. 21. (2.) Un arall o'r enw, oedd un o'r gau brophwydi oedd yn twyllo 'r Iuddewon yn nghaethiwed Babilon. Jer. 29, 21.

AHAFA, [*cenhedlaeth*] afon yn Caldea, neu 'n hytrach yn Aſſyria. Yma bu Ezra a'i gymdeithion yr Iuddewon, yn ymprydio ac yn gweddïo am gyfarwyddyd a llwyddiant yn eu dychweliad o Babilon i Judea. Ezra 8, 15, 21.

AHASFERUS, [*pennaeth*] enw yn goſod allan fawrhydi yn hytrach nag enw prïodol. Nid oes ond ychydig o ſon am dano ef. Dan. 9, 1. (2.) Ahasferus, neu Cambyſes, mab Cyrus brenin Perſia. Fe ddaeth i'r orſedd ar ol ei dad. O. y B. 3475. ac a deyrnaſodd ſaith mlynedd a phum mis. Rhwyſtrwyd adeiladu yr ail deml yn Jeruſalem yn ei ddyddiau ef. Ezra 6. (3.) Ahasferus gwr Eſter. Nid yw haneſwŷr yn hollol gyttuno pwy oedd efe. Mae Scalinger, Gil, ac eraill yn meddwl mai Xerxes oedd efe: Ond y mae Prideaux ynghŷd ac eraill, yn meddwl mai Artaxerxes mab Xerxes oedd efe, yr hwn a wnaeth gymmaint er yr Iuddew-

on, yn enwedig yn y feithfed flwyddyn o'i deyrnafiad. Ezra 7. Nehem. 1, a 2. *Gwel* Lyfr Efter.

AHAZ, [*meddiannu* neu *gweled*] mab Jotham brenhin Juda, yr hwn a deyrnafodd yn ei le ef. Efe a ymroddodd i ffiaidd eilun-addoliaeth; fe aberthodd un o'i feibion i'r eilun dduw Moloch: Fe ordeiniodd aberthu, ac offrymmu, i eilunod yn yr uchelfeydd, ac ar y bryniau, a than bob pren gwyrddlas. Fe deyrnafodd yn ddrygionus iawn, un mlynedd ar bymtheg; ac a fu farw ac a'i claddwyd ef yn Jerufalem; ond ni ddygafant hwy ef i feddrod brenhinoedd Ifrael; mae 'n debyg o herwydd ei drygioni. 2 Bren. 15, 38. a 16. 2 Cron. 28.

AHAZIA, [*amgyffred* neu *feddiant yr Arglwydd*] mab Ahab yr hwn a deyrnafodd yn ei le ef ar Ifrael; ni theyrnafodd efe ond dwy flynedd ar ol marwolaeth ei dad; yr oedd efe mor hynod ofnadwy mewn annuwioldeb ag oedd ei dad. 1 Bren. 22, 51, 52.

(2.) AHAZIA, brenin Juda, a mab Jehoram ac Atholïa, a ddaeth i'r orfedd yn lle ei dad yn yn y flwyddyn o O. y B. 3119; cyn Crift 881; un flwyddyn y teyrnafodd efe yn drygionus, gan rodio yn ffordd tŷ Ahab, i'r hwn yr oedd efe 'n berthynas. Fe gafodd ddyrnod marwol trwy orchymmyn Jehu, ac a fu farw yn Megido, tref yn llwyth Iffacar. 2 Bren. 9. a 2 Cron. 23.

AHIA, [*brawd yr Arglwydd*] un o brophwydi 'r Arglwydd yr hwn oedd yn trigo yn Silo. Tebygol yw, mai efe oedd yn calonnogi Salomon pan oedd yn adeiladu 'r deml; yr hwn hefyd a'i bygythiodd ef ar ol ei gwymp gwarthus. 1 Bren. 6, 11. a 11, 6.

(2.) AHIA, mab Ahitub yr arch-offeiriad, yr hwn a ddaeth i'r fwydd offeiriadol yn ei le. 1 Sam. 14, 3.

AHICAM, [*brawd yn cyfodi*] mab Saphan a thad Gedalïa. Yr oedd efe 'n un o dywyfogion Juda; anfonwyd ef gan Josïa i ymgynghori â Hulda, ynghylch barnedigaethau Duw yn erbyn y wlad o herwydd eu drygioni. 2 Bren. 22. 12. Fe fu 'n amddiffynwr cadarn i fywyd y prophwyd Jeremi. Jer. 26, 24.

AHIAM, [*brawd y fam*] un o gedyrn Dafydd. 2 Sam. 23, 33.

AHIEZER, [*brawd y cymmorth*] mab Ammifadi, tywyfog o lwyth Dan. Num. 1, 12. (2.) Y pennaf o gedyrn Dafydd. 1 Cron. 12, 3.

AHILUD, [*brawd a anwyd*] tad Jehofaphat; cofiadur oedd gan Ddafydd. 2 Sam. 8, 16.

AHIMAAS, [*brawd y cyngor*] tad Ahinoam gwraig Saul. 1 Sam. 14,

50. (2.) Mab Sadoc yr arch-offeiriad; fe fu hwn ynghŷd â Jonathan fab Abiathar, yn dra gwaſanaethgar i Ddafydd, yn amſer gwrthryfel Abſalom. 2 Sam. 15, 27. Efe oedd y cyntaf a fynegodd i Ddafydd am hollol orchfygiad ei wrthwynebwŷr, 2 Sam. 18, 28. Fe a ymddug yn ddoeth ger bron y brenin heb fynegi iddo am farwolaeth ei fab Abſalom; fe aeth i'r ſwydd offeiriadol ar ol ei dad; ac Azerïa ei fab ar ei ol yntau. 1 Cron. 6, 8, 9.

AHIMAN, [*brawd darparedig*] un o gawri meibion Anac, yn amſer yr yſpïwŷr a anfonwyd gan Moſes, Num. 13, 22. oedd yn byw yn Hebron; o'r lle 'r ymlidwyd ef a'i frodyr, Seſai a Thalmai, gan Caleb, Joſ. 15, 14. yn y flwyddyn o O. y B. 2560; cyn Criſt 1416.

AHIMELEC, [*ſy mrawd ſy frenin*] arch-offeiriad, at yr hwn y daeth Dafydd, lle y bwyttaodd efe 'r bara goſod, ac y caſodd gleddyf Golïa, yr hwn a laddaſai efe. Achwynwyd arno i Saul am gynnorthwyo Dafydd; gorchymmynodd ei ladd ef a 84 o offeiriaid eraill gyd âg ef: nid eſtynai gweiſion y brenin eu llaw yn erbyn offeiriaid yr Arglwydd; eithr Döeg yr Edomiad a ruthrodd arnynt ac a'u lladdodd hwynt oll. 1 Sam. 21, a 22.

AHIMOTH, [*brawd angeu*] mab Elcana. 1 Cron. 6, 25.

AHINADAB, [*brawd ewyllyſgar*] mab Ido, llywodraethwr talaith Mahanaim, y tu hwnt i'r Iorddonen; yn nheyrnaſiad y brenin Salomon. 1 Bren. 4, 14.

AHINOAM, [*tegwch y brawd*] merch Ahimaas, gwraig Saul. 1 Sam. 14, 50. (2.) *Ahinoam* gwraig Dafydd, un o Iſrael, a mam Amnon. 1 Sam. 30, 5. 2 Sam. 3, 2.

AHIO, [*ei frawd*] mab Abinadab: Efe a'i frawd Uzza oedd yn gyrru 'r fenn newydd, ar yr hon yr oedd yr arch, pan oedd Dafydd yn ei ſymmud o dŷ Abinadab, i'r lle a ddarparaſai efe iddi. 2 Sam. 6.

AHIRA, [*brawd anwiredd*] mab Enan, pennaeth o lwyth Naphtali. Num. 1, 15.

AHIRAM, [*brawd celfyddyd*] mab Benjamin. Num. 26, 38.

AHISAMACH, ac ACISAMA, [*ſy mrawd ſy 'n cynnal*] tad Aholïa o lwyth Dan. Ecſ. 31, 6.

AHISAR, [*brawd y tywyſog*] pen diſtain ar dŷ Salomon. 1 Bren. 4, 6.

AHITOPHEL, [*brawd y dinyſtr*] prïodor o Gilo. Cynghorwr rhagorol yn amſer Dafydd: Fe a droes at blaid Abſalom; pan welodd efe nad oedd ei gyngor yn cael derbyniad, ond ei ddyddymmu trwy cyngor

Hufai; efe a gyfrywodd ei afyn ac a aeth i'w dŷ yn Gilo, a drefnodd ei dŷ ac a ymgrogodd. Felly fe gafodd Dafydd wrando ei weddi, am droi cyngor Ahitophel yn ffolineb. 2 Sam. 15. a 16. a 17.

AHITUB, [*brawd o ddaioni*] mab Phineas, ŵyr Eli: Fe laddwyd ei dad yn y frwydr waedlyd honno, pan ddarfu i'r Philiftiaid gymmeryd arch Duw; fe ddaeth yn arch-offeiriad yn lle ei daid Eli. 1 Sam. 4. yn y flwyddyn O. y B. 2818; cyn Crift 1112. Yr oedd tri eraill o'r enw. 1 Cron, 6, 8, 11.

ADHIUD, [*mab moliant*] mab Selomi, tywyfog o lwyth Afer; yr hwn a ofodwyd gan Mofes yn un o'r fwyddogion i rannu tir Canaan. Num. 34, 27.

ALAB, [*brawd calon*] dinas yn llwyth Afer. Barn 1, 31.

AHOLI, [*brawd i mi*] tad Zabad un o gedyrn Dafydd. 1 Cron. 11, 41.

AHOLA, [*pabell*, neu *drigfa*] AHOLIBA, [*fy mhabell ynddi hi*] enwau dychymygol trwy ba rai y mae 'r prophwyd Ezeciel yn gofod allan deyrnafoedd Juda ac Ifrael: y cyntaf yn arwyddoccâu *pabell*, i arwyddo Samaria a'r deg llwyth: yr ail fy'n arwyddoccâu *fy mhabell ynddi hi*, i arwyddo Jerufalem a'i thrigolion. Y mae 'r ddwy yn cael eu gofod allan tan yr un bai, fef putteinio yn yr Aipht ac Affyria, trwy ddynwared eu delwau a phwyfo arnynt am gynnorthwy. Mae 'r Arglwydd yn bygwth gwneuthur y bobl hyn yn orthrymwŷr iddynt, i'w dwyn i gaethiwed creulon. Ezec. 23.

AI, ac AIATH, [*carnedd*, neu *bentwrr*] (1.) dinas oedd yn fefyll ynghylch naw milldir oddi wrth Jerufalem. Fe fu Abraham yn adeiladu allor yma ryw dro wrth ymdaith. Gen. 12, 8. a 13, 3. Yma y gorfu ar Ifrael ffoi o achos trofedd Achan: fe 'i cymmerwyd hi gwedi hynny trwy yftryw; llofgwyd hi â thân, a chrogwyd ei brenin. Jof. 7, a'r 8. Adeiladwyd hi drachefn gan y Benjaminiaid; ac yn mhen hir amfer y cymmerwyd hi gan Senacerib. Efay 10, 28. Adeiladwyd hi drachefn ar ol caethiwed Babilon. Neh. 11, 31.

(2.) AI, dinas yngwlad Moab a gymmerwyd ac a yfpeiliwyd gan y Caldeaid. Jer. 49, 3.

AJALON, [*cadernid*] dinas yn llwyth Dan, yr hon oedd yn perthyn i'r Lefiaid, o deulu Coath; eithr yr Amoriaid oeddynt yn dal gafael a meddiant ynddi. Jof. 19, 42. Barn. 1, 35. 2 Cron. 28, 18. (2.) Dinas arall yn llwyth Benjamin yn agos i Bethel, hi a ddiogelwyd gan Rehoboam. 2 Cron. 11, 10. (3.) Dinas yn llwyth Ephraim, ddwy filldir o Shechem. Cydmarer Jof. 21, 24. â 1 Cron. 6, 69. (4.) Un arall yn llwyth Zabu-

lon, lle claddwyd Elon, barnwr Israel. Barn. 12, 12. Nid yw hyspys oddi wrth ba un o honynt y cafodd y dyffryn yr enw *Dyffryn Ajalon*, o herwydd ei fod yn sefyll yn eu canol hwynt. Jos. 10, 12.

AIN, [*llygad, ffynnon*] dinas a roddwyd i lwyth Juda. Jos. 15, 32.

AIELETH HASAHAR, [*ewig foreu*] titl Salm y 22. Naill ai enw 'r offeryn, neu 'r dôn ar ba un y cenid y Salm hon. Mae 'r Salm yn brophwydoliaeth. *Hydd, neu Ewig y Boreu;* gan feddwl Crist; yr hwn oedd yn cael ei hela fel Hydd, gan y cwn, Iuddewon a Chenhedloedd, adn. 7. a helwyd ac a ymlidiwyd yn y boreu. Iöan 18, 28. Hefyd a adgyfododd o feirw yn foreu 'r trydydd dydd, Iöan 20, 10. pan wnaeth Duw ei draed ef fel traed ewigod. 2 Sam. 22, 34. Salm 18, 34.

AIPHT. [*ing, cystudd*] gwlad adnabyddus yn Affrica, a elwid gynt tir Mizraim. Ei hyd yw 600 o filltyroedd, a'i lled ynghylch 300. Fe 'i gelwid hi hefyd tir Ham. Y Groegiaid a'i galwant hi 'n bresennol, *y tir tywyll;* naill ai oddi wrth yr enw a roddai y trigolion gynt iddynt eu hunain; neu o herwydd fod y tir a'r dwfr o liw tywyll; a'r llaid y mae 'r Nilus yn ei gario ar hyd wyneb y wlad. Nid oes yno ond ychydig o wlaw yn disgyn arni hi; ond yr afon Nilus, yr hon sydd yn rhedeg drwyddi, sydd yn ei dyfrhâu, ac yn ei gwrteithio hefyd. Yr oedd yr *Aipht* gynt, yn dir bras, ffrwythlon iawn; ond fel y mae 'r afon yn treulio 'i ffordd, ddyfnach ddyfnach, bob blwyddyn; neu 'n hytrach trwy chwanegiad blynyddol o'r llaid, y mae wyneb y ddaear wedi codi lawer iawn uwch; ac felly nid yw 'r dyfroedd yn cyrraedd cyn uched â chynt, na 'r llaid mor fras, trwy ei fod yn dyfod yn dyfnach o'r ddaear; a hynny yn gwneuthur y tir yn fwy anffrwythlon nag a fu. Yr oedd yr *Aipht* gynt yn boblog iawn, ac yn cynnwys yn nghylch 20,000 o ddinasoedd ynddi. Yr oedd yr *Aiphtiaid* yn bobl hynod am ddewiniaeth ac eilun-addoliaeth. Yr oeddynt yn addoli llu 'r nef, ynghŷd â llawer o greaduriaid y ddaear; ac hyd yn nod ei llysiau, Pompiwn, a'r Winwyn, &c. Y mae eu hadeiladau, fel y dywed haneswŷr, o faintioli, braidd yn anghredadwy; dywedant fod rhai o honynt yn sefyll ar un acr ar ddeg o dir yn ol mesur Brutanaidd. Esay 43, 3. Joel 3, 19. Anghrist a elwir yr *Aipht*, o herwydd eilun-addoliaeth, ei greulondeb, a'i orthrymiad i bobl Dduw, ac o blegid y bydd iddo gael ei ddyfetha, â barnedigaethau dychrynllyd yr Arglwydd. Dat. 11, 8.

ALARCH, aderyn gwyn, hardd a boneddiaidd, sy 'n caru bod gerllaw dyfroedd, ac afonydd, er nad yw yn fynych yn myned dan y dwfr fel rhai adar eraill. Y mae 'n ffrwythlon a diniweid. Ei nerth mwyaf

fydd yn ei adenydd. Y mae gelyniaeth rhyngddo a'r Eryr; er hynny ni ddechry efe yr ymladd; ond efe a faif yn wrol i'w amddiffyn ei hun pan ymofodir arno. Y mae efe 'n rhag-arwyddo ei farwolaeth wrth ganu; po hynaf a nefaf i farw, pereiddiaf y cân efe. Maent yn ymborthi y naill ar y llall. Y mae efe 'n drwm o gorph, am hynny anfynych y mae 'n ehedeg. Ei gorph fydd wyn, a'i draed yn dduon, er mawr ddigalondid iddo.—Yr oeddynt yn aflan dan y gyfraith, ac a allent fod yn gyfgod o ddynion drygionus, y rhai fydd yn ogoneddus yn eu doniau, a'u cymmwyfiadau allanol, ond yn eu gweithredoedd, a'u rhodiad, yn anweddus ac afian. Lef. 11, 18. D. S. Y mae 'r enw Alarch, i'w gael yn y ieithoedd eraill, er nad yw i'w gael yn y Gymraeg, ond y mae 'r gair *Tinfhemeth*, yn cael ei gyfieithu cogfran; yr hwn y mae ieithoedd eraill yn ei gyfieithu *alarch* yn y lleoedd hyn. Deut. 14, 16.

ALARWM. *Edr.* LARWM.

ALAMOTH, [*cuddiedig*, neu *wyryfon*] yn ol y Groeg. Titl y chweched Salm a deugain: Fe allai fod y Salm hon i'r gwyryfon i'w chanu yn neithior Salomon; neu dôn yr hon y cenid y Salm arni, neu fe allai 'r offeryn cerdd; ond yn hytrach am guddiedig gyngor, a rhaglunniaeth Duw, mewn pethau a berthynent i'w eglwys yn Nghrift; y pethau fydd guddiedig oddi wrth bawb, ond y rhai a dderbyniant ryw gyfran o wybodaeth y nef.

ALCAM, metel adnabyddus, calettach nâ phlwm, tebyg i arian. Yn Tarfis yr oedd helaethrwydd o hono. Ezec. 27, 12. Pechaduriaid llygredig a ffiaidd, y rhai fydd barod i dân digofaint Duw, a gyffelybir iddo, ac hefyd i haiarn, a phres, a forod. Ezec. 22, 18, 20. Efay 1, 25.

ALCH, llech lydan o bres, llawn o dyllau, tebyg i ogr, a ofodid tan yr allor i ollwng y lludw trwyddo: Yr hyn a allai fod yn arwyddo purdeb Aberth Crift. Ecf. 27, 4. 1 Cor. 5, 7.

ALECSANDER, [*cynnorthwywr cryf*] (1.) mab Simon o Syrene, yr hwn a fu gynnorthwywr i'n Iachawdwr i gario ei groes i ben Calfaria. Marc 15, 21. Rhuf. 16, 13. (2.) Un arall oedd gyd â'r arch-offeiriaid yn carcharu 'r Apoftolion. Act. 4, 6. (3.) *Alecfander* y gôf-copr, yr hwn y dywed Paul iddo wneuthur drygau lawer iddo; yr hwn a fuafai unwaith yn proffefu Crift'nogrwydd, ond a wrthodafai 'r ffydd, ac a wnaethai long-ddrylliad am dani. 1 Tim. 1, 20. 2 Tim. 4, 14, 15.

ALECSANDRIA, dinas enwog yn yr Aipht Ifaf. Act. 28, 24. a 27, 6. yr hon a fylfaenwyd gan Alecfander fawr, ac yma y claddwyd ef; y mae hi 'n fefyll rhwng Môr y canoldir a llyn Maeris, neu Mareotis. Dy-

wedir ei bod o ran ei harddwch a'i gogoniant yn ail i Rufain, a bod ei Llyfr-dŷ hi 'n cynnwys 700,000 o lyfrau; eithr llofgwyd hwynt oll gan yr Arabiaid, A. B. 642. Fe blanwyd Crift'nogaeth, yma yn foreu iawn, dywedir mai Marc yr efengylwr oedd yr offeryn; amryw o wŷr enwog, a blodeuog mewn Crift'nogaeth, a fu ynddi gynt.

ALEGORI, aralleg, cyffelybiaeth, dammeg; ymadroddion fy 'n gofod allan hanes gyffelybiaethol megis caniad Salomon, &c. Y mae 'r ymadroddion hyn yn fynych yn yr yfgrythyrau; yn myngi un peth, tan gyfgod peth arall. Hof. 12, 10. Salm. 80, 8. Fel hyn yr oedd Paul yn cymmeryd Agar a Sara, i ofod allan y ddau gyfammod, a'r ddwy oruchwyliaeth; Agar oedd yn gofod allan y cyfammod gweithredoedd, a Sara 'r cyfammod gras.

ALELUIA, neu HALELUIA, gair Hebraeg, yn arwyddoccâu, molwch Jehofa; fe 'i harferir yn fynych yn y falmau: Fe 'i harferir gan yr eglwys dan y Teftament newydd megis cân o ddïolchgarwch, Dat. 19, 1. i Dduw yn y nefoedd, am farnu y buttain fawr, fef, Anghrift, a dïal gwaed ei faint. adn. 3, 4, 6.

ALLAN, bwrw allan neu yfgymmuno. Iöan 9, 22. *Allan o amfèr;* mae Paul yn gorchymmyn pregethu 'r gair mewn amfer, *allan* o amfer. 2 Tim. 4, 2. Nid yn unig ar yr amfer gofodedig gan yr Iuddewon, neu 'r awr weddi, neu Sabbath, ond bob amfer y ceffid cyfleufdra, ddydd a nos. Act. 17, 17, a 20, 7. Nid unwaith yn y dydd; "y boreu haua dy had, a phrydnawn nac attal dy law." Preg. 11, 6. Lleoedd na byddo ond ychydig o arwydd llwyddiant. Act. 8, 26. Y mae amfer Duw yn fynych allan o amfer dynion: Fe anfonodd Duw ei Fab i'r byd yn ei amfer ei hun; ond *allan* o amfer gan lawer o ddynion: Felly mae 'n rhaid pregethu Crift, mewn amfer, allan o amfer. 2 Tim. 4, 2. Gal. 4, 4.

ALLOR, lle, oddi ar yr hwn yr byddai offrymau fanctaidd yn cael eu cyflwyno i Dduw; ac y byddent o leiaf mewn rhan, yn cael eu hyfu â thân er anrhydedd iddo. Nid ydym yn darllen am un *allor* cyn y diluw: fe allai eu bod yn aberthu y pryd hynny ar y ddaear. Y mae Noa yn adeiladu allor i'r Arglwydd yn union ar ol y diluw, ac yn offrymmu arni i'r Arglwydd. Gen. 8, 20. Pan ymddangofodd Duw i Abraham, Gen. 12, 7. efe a adeiladodd *allor*. Nid oes dim fôn am ei dull, na 'i mefur; nac ychwaith am ddull *allor* Noa. Gideon a offrymmodd ar graig. Barn. 6, 20. Yr arferiad eilun-addolgar oedd codi allorau yn agos i lwyni yr hyn oedd yn waharddedig i'r Iuddewon wneuthur ar ei ol. Deut. 16, 21.

*Allor* y gwir Dduw oedd i gael ei gwneuthur o bridd, ac os gwneid hi o gerrig yr oedd yn rhaid iddynt fod yn gerrig heb eu naddu, na grisiau i ef y ar hyd-ddynt. Ecs. 20, 24, 25, 26. O amser codiad y babell nid oedd ond dwy *allor* mewn arferiad cyffredinol; un i'r poeth-offrymmau a'r llall i losgi arogl-darth.

*Allor* y poeth-offrwm yr hon a wnaeth Moses, oedd fath o goffr o goed Sittim: o bum cufydd ei hŷd, a phum cufudd ei lled, yn bedair ongl; ac yn dri chufydd ei huchder, gwedi ei gwisgo â phrês; yr oedd arni bedwar corn, un y'mhob congl, o'r un defnyddiau. Ecs. 27, 1, 2. a 38, 1. 2. Salomon a wnaeth *allor* bres i'r poeth-offrymau, lawer mwy: Yr oedd hon ynghylch 37 troedfedd o hŷd a lled, ynghylch hanner cymmaint o uchder. Ond ar ol caethiwed Babilon fe 'i hadeiladwyd hi â cherrig geirwon heb eu naddu; ynghylch 60 troedfedd o bob tu yn ei gwaelod, 45 y ei chwrr uchaf.

*Allor* yr arogl-darth, oedd fwrdd o goed Sittim wedi ei wisgo âg aur; ynghylch 22 modfedd o hŷd a lled, a 44 o uchder. Ei chwrr uchaf oedd wedi ei amgylchu âg ymylwaith aur. Yr oedd *allor* y poeth-offrwm yn sefyll yn y cyntedd nesaf allan; ychydig oddi wrth yr ochr ddwyreiniol i'r babell neu 'r deml; lle 'r offrymmid y boreuol a'r hwyrol aberth. At hon y byddai troseddwŷr yn ffoi am ddïogelwch. *Allor* yr arogl-darth oedd yn sefyll yn y cyntedd canol ar gyfer y wahanlen; lle 'r offrymid arogl-darth sanctaidd yn unig, bob boreu a hwyr.—Yr oedd *allor* y poeth-offrwm yn gysgod o Iesu Grist, fel ein holl-ddigonol gymmod, ein noddfa a'n dïogelwch rhag y Dwyfol lid; ac *allor* yr arogl-darth yn ei gysgodi ef fel ein Heiriolwr o'r tu fewn i'r llen; yr hwn sydd yn byw bob amser i eiriol drosom ni. Ecs. 30. Heb. 9, 21.

Y Cenhedloedd hefyd oedd ganddynt *allorau* i'w duwiau; yn Athen cafodd Paul un wedi ysgrifennu arni, "i'r Duw nid adwaenir sef Duw Israel yr hwn sydd anweledig. Act. 17, 23.

Gorchuddio 'r *Allor* a dagrau, oedd naill ai proffes ragrithiol o edifeirwch, ynghynteddau 'r Arglwydd; ai eu hanfri yn erbyn eu gwragedd; neu 'n hytrach eu godineb yn erbyn eu gwragedd, a hynny yn peri i'r gwragedd wylo 'n chwerw dost ger bron yr Arglwydd o herwydd eu cam. Mal. 2, 13.

Iesu Grist, sy 'n cael ei osod allan yn *allor* i'r ffyddloniaid. Yn ei natur, a'i berson dwyfol; fe i cyflwynodd ei hun yn aberth cymmodlawn i Duw; ei urdduniant anfeidrol oedd yn gwneuthur ei ddyoddefiadau a'i farwolaeth, yn offrwm o anfeidrol werth a rhinwedd, ac sydd

yn parhâu felly, fel y mae 'n gwneuthur ei eiriolaeth ef yn effeithiol a llwyddianus; a thrwy ei berson, ei farwolaeth, a'i gyfryngdod, y mae ein personau ninnau, a'n hoffrymmau o weddïau a mawl, a gweithredoedd da eraill, i'w cyflwyno i Dduw; a'u gwneuthur yn dderbyniol ganddo. Heb. 13, 10. Crist yn *sefyll wrth yr allor aur i offrymmu arogl-darth lawer*, sydd yn dangos ei barodrwydd parhâus, a didorr ef i ymddangos ger bron Duw trosom ni, i ddadleu ein hachos ar y sylfaen o'i anfeidrol haeddiant ei hun. Dat. 8, 3. Eneidiau y Merthyron a ogoneddwyd a a osodir allan megis dan yr *allor*; hwy a syrthiasant yn aberthau tros Iesu a'i achos yn y byd; yn y nefoedd y maent yn agos atto, ac yn dragywyddol ddedwydd ger ei fron, trwy rinwedd ei waed a'i eiriolaeth. Wrth *allor y'nghanol yr Aipht* y meddylir, yr eglwys Grist'nogol yn Alecsandria, a lleoedd eraill o dir yr Aipht. Esay 19, 19.

ALLTUD, dyeithr-ddyn, ymdeithydd o wlad arall, un a fyddo 'n ymdeithio o wlad ei anedigaeth. Gen. 23, 4. Salm 105, 23. Seintiau 'r Hen Destment a'r newydd, ydynt ddyeithraid a phererinion yma. Salm. 39, 12. a 15, 1. 1 Pedr 1, 17. a 2, 11.

ALMODAD, [*mesur Duw*] mab Joctan. Gen. 10, 26.

ALMON, [*cuddiedig*] (1.) Dinas yn perthyn i lwyth Benjamin. Jos. 21, 18. (2.) Pren sy 'n blodeuo 'n hardd, ac yn ffrwytho 'n helaeth. Ei ffrwyth sydd werthfawr a iachus. Gen. 43, 11. Jacob a anfonodd anrheg o hono i'w fab Joseph.

Pedyll y canwyllbren aur o waith *almonau*, oedd yn gysgod o flodeuog waith goleuni 'r efengyl ar eneidiau dynion. Ecs. 25, 33. Almonau gwialen Aaron, oedd yn dangos y byddai arosiad yr offeiriadaeth gysgodol, yn hir yn ei deulu ef: yn neillduol rhinwedd maethlon yr efengyl, gwialen nerth Crist, a dinystr disymmwth ei elynion. Num. 27, 8. Y wïalen yngweledigaeth Jeremi oedd yn dangos addfedrwydd y farn i ddisgyn ar Iuddewon cyndyn yr amser hwnnw. Jer. 1, 11. Pen hen ŵr a gyffelybir i'r Pren *Almon*, ei wallt gwyn ef fel ei flodeuo gwynion yntau. Preg 12, 1.

ALMUGIM, math o bren rhagorol, parhâus, pêr ei arogl; yr hwn sydd yn dwyn sudd gwerthfawr. 1 Bren. 10, 11. 2 Cron. 10, 11.

ALOES, math o bren sy 'n tyfu yn Ewrop, a chwarterau eraill y byd. Y pren, ei ddail, a'i ffrwyth, a arferir mewn moddion meddyginiaeth. Fe fyddid yn ei arfer gynt i berarogli cyrph y meirw, gwelyau, dillad. Iöan 19, 39. Diar. 7, 17. Effeithiau 'r Ysbryd Glân y'Nghrist a'i bobl, a gyffelybir i *aloes*; oblegid eu pêrarogl; au bod hefyd yn attal, ac yn

puro, oddi wrth chwantau llygredig a phechadurus, ac yn cadw eu deiliaid yn iach ac yn fywiog. Salm 42, 8. Can. 4, 14. Yr Israeliaid a gyffelybir i *aloewydd*, i ddangos eu cynnydd, eu cyflwr blodeuog, a'u buddioldeb. Num, 24, 6.

ALPHA ac OMEGA, y llythyrennau cyntaf a diweddaf yn y wyddor Roeg. Y mae Crist yn cymmeryd yr enw hwn, i ddangos mai efe yw 'r dechreu a'r diwedd; awdwr, cynnhaliwr a pherffeithydd pob peth; a'i ogoniant y dyben o'r cwbl. Dat. 1, 8. a 21, 6. a 22, 13.

ALPHEUS, tad yr apostol Iago a Judas. Fe dybir yn gyffredin fod Mair ei wraig ef, yn chwaer i Mair mam ein Harglwydd; ac o herwydd hynny eu bod yn cael eu galw yn frodyr yr Arglwydd. Gal. 1, 19. Marc 6, 3. Y mae 'r rhan fwyaf yn meddwl, mai 'r un yw Cleophas a henwir gan Luc yn y 24, 18. ag *Alphëus*, gan Mathew y 10, 3. (2.) Tad Mathew, neu Lefi yr efengylwr. Marc 2, 14.

AMALEC, [*pobl ryfelgar*] mab Eliphaz o Timna ei ordderch, ac ŵyr Esau, yr hwn a lywodraethodd yr Edomiaid ar ol Gatam. 1 Cron. 1, 36. Y mae amryw yn meddwl mai hwn oedd tad yr AMALECIAID, yr hon oedd genedl alluog, yn trigo yn Arabia Garregog. Yr oedd gelyniaeth parhâus rhyngddynt a'r Hebreaid; llawer brwydr a ymladdwyd lle bu 'r *Amaleciaid* yn orchfygwŷr. Mae 'n debygol fod yr elyniaeth yn cyfodi oddi ar yr hen gofion am Jacob yn dwyn yr enedigaeth fraint, a'r fendith, oddi ar eu cyndad Esau. Ecs. 17, 8. Barn. 5, 3. Y mae 'r Arabiaid yn dal fod *Amalec* yn fab i Ham, ac yn ŵyr i Noa, yn wahanol oddi wrth eppil Amalec ŵyr Esau: yr hyn nid yw barn *Calmet* ac eraill; ac nid yw yn anhebygol wrth ystyried Gen. 14, 7. a hefyd y 24 o Numeri, adn. 20.

AMANA, [*gwirionedd, dianwadalwch*] mynydd, yn ol barn rhai sydd yn terfynu rhwng Silisia a Syria, ond yn ol eraill, yr hyn sydd debycach, mynydd tu draw i'r Iorddonen, yn rhandir hanner llwyth Manasse. Can. 4, 8. *Edr.* LIBANUS.

AMARIA, [*dywedodd yr Arglwydd*] Yr oedd amryw o'r enw hwn. 2 Cron. 6, 7. 1 Cron. 23, 19. a 19, 11. Ezra 10, 42. Neh. 12, 2. a 11, 4.

AMASA, [*pobl yn maddeu*] mab Ithra o Abigail chwaer Dafydd, Absalom a'i gosododd ef yn dywysog ei lu. 2 Sam. 17, 25. Dafydd, gwedi cael ei anfoddhâu yngwaith Joab yn lladd ei fab Absalom, fe fu hawdd ganddo faddeu i *Amasa*, ac efe a'i gwnaeth ef yn flaenor ei fyddin yn lle Joab; ond Joab o eiddigedd a chas tu ag atto, yn dwyllodrus a'i lladdodd. 2 Sam. 20.

AMASAI, [*y bobloedd sydd bresennol*] mab Elcana. 1 Cron. 6, 25. Tybir mai efe oedd pen-cadpen llwyth Benjamin a Juda, yr hwn a ddaeth at Ddafydd pan oedd efe yn yr anialwch yn ffoi rhag erledigaeth Saul. 1 Cron. 12, 16—19.

AMAZIA, [*nerth yr Arglwydd*] yr wythfed brenin yn Juda, mab yr hwn a deyrnasodd yn ei le ef. Yn y 25 flwyddyn o'i oedran fe ddechreuodd deyrnasu, ac a deyrnasodd naw mlynedd ar hugain. O. y B. 3169. Fe a ymddug yn addas yn nechreuad ei deyrnasiad, ond nid â chalon gywir. Ar ol gorchfygu 'r Edomiaid, 2 Bren. 14, 2. fe ddygodd eu delwau hwynt, ac a aeth yn addolwr iddynt. Cafodd 15 mlynedd o lonyddwch er hynny ni cheisiodd yr Arglwydd. Lladdwyd ef gan ei weision ei hun. 2 Cron. 25.

(2.) AMAZIA, arch-offeiriad eilun-addolgar yn Bethel, yr hwn y prophwydodd Amos yn ei erbyn. *Gwel* Amos y 7fed.

AMBR, sylwedd defnyddiol o liw melyn a dysglaer, o fath suddog; ei flas yn debyg i ystor, a'i arogl fel *turpentine*. Y mae cloddfeydd o hono mewn amryw fannau yn yr Almaen, Poland, &c. ond yr hwn a geir yn nhueddau Prusia a dybir yn oreu. Y mae efe o ddefnydd mawr mewn meddyginiaethau a chlefyddydau eraill. Y mae math wneuthuredig o *ambr*, a wneir o aur a phrês coeth. Fe syn *Bochart* a *Le Clerc* mai hwn yw 'r *ambr* a grybwyllir yn yr ysgrythur. Ezec. 1, 4. a 8, 2. a thrwyddo fe allai fod dwy natur Crist yn cael eu gosod allan; gwerthfawrogrwydd ei berson; mawredd ac ardderchawgrwydd ei allu a'i Arglwyddiaeth. Eraill sydd yn troi 'r gair i arwyddo *marworyn tanlyd;* ac felly fe a all fod yn gosod allan Iesu, fel dysgleirdeb gogoniant ei Dad; yn llosgi â zel i anrhydedd ei enw; cariad at eneidiau ei bobl, a digofaint yn erbyn ei elynion.

AMCAN, bwriad, meddylfryd am gyflawni rhyw beth. Preg. 3, 1.

AMEN, (1.) gwirionedd ffyddlon; sicrwydd diymod, neu diymwad. Ein cyfieithid ni sydd yn fynych, yn ei droi *yn wir;* lle y mae wedi ei roi ddwy-waith y mae 'n tynny at bwysigrwydd llw. Mat. 18, 3. Ioan 6, 26. a 3, 3. (2.) *Bid felly; felly y caiff fod.* Jer. 28, 6. Dat. 1, 28. (3.) Crist a elwir yn *Amen* efe yw Duw 'r gwirionedd; sylwedd y gwirionedd datguddiedig; y prophwyd anffaeledig a'r tyst ffyddlon a chywir. Dat. 3, 14. Yr holl addewidion yn Nghrist, ydynt *ie ac amen;* wedi eu sicrhâu trwy ei air a'i lw; eu cadarnhâu trwy ei farwolaeth, a'u selio trwy ei Yspryd. 2 Cor. 1, 20.

AMETHYST, maen gwerthfawr amryliw. Y mae amryw fath o

honynt; ac y maent i'w cael mewn amryw wledydd. Hwn oedd y nawfed maen yn nwyfronneg yr arch-offeiriad. Ecs. 28, 19. A'r deuddegfed yn sylfaen y Jerusalem newydd. Dat. 21, 20.

AMLDER, helaethrwydd o bethau, megis, anwiredd. Hos. 9, 7. Ezec. 28, 18. Camweddau. Salm 5, 10. Jer. 13, 22. Geiriau. Diar. 10, 9. a 16, 14. Heddwch. Jer. 33, 6. Trugareddau. Galarn. 3, 32. Tywod. 1 Bren. 10, 10. 1 Sam. 13, 3.

AMLWG, eglur, hawdd ei ddeall, ei ganfod, ei amgyffred. Deut. 29, 29. Diar. 8, 9. Math. 6, 4. Iöan 11, 54. Hos. 2, 18.

AMMAU, petruso, o herwydd bod heb wybod peth yn sicr. Iöan 10, 24. Act. 5, 24. a 10, 17.

AMMHARCH, *Edr.* ANMHARCH.

AMMHLANTADWY, *Edr.* ANMHLANTADWY.

AMMHOSSIBL, *Edr.* ANMHOSSIBL.

AMIHUD, [*pobl y mawl*] yr oedd amryw o'r enw hwn. Num. 1, 10. 2, Sam. 13, 37. 1 Cron. 9, 4.

AMMI, [*fy mhobl*] y mae dodiad yr enw hwn ar y deg llwyth ar ol eu gwrthodiad, yn arwyddo y byddai i Dduw yn y dyddiau diweddaf, eu gwaredu hwynt o'u trueni, a'u caethiwed, a'u dwyn i berthynas gyfammodol âg ef ei hun, Hos. 2, 1.

AMMINADIB, [*fy mhobl fy ryddion, tywysogaidd ac ewyllysgar*] mab Aram, o lwyth Juda, tad Naason ac Elisebа, gwraig Aaron yr archoffeiriad. Ecs. 6, 23. Enw un o feibion Saul a laddwyd gyd âg ef y'mrwydr Gilboa. 1 Sam. 31, 2. Enw trigianydd o Ciriath-jearim Lefiad, gyd â'r hwn yr oedd yr arch ynghadw, gwedi ei dygiad yn ol o wlad y Philistiaid. 1 Sam. 7. *Cerbydau Aminadib.* Can. 6, 12. nid yw hyspys pwy oedd yr *Aminadib* hwn, na 'i gerbydau. Y mae 'n dangos yr â gweinidogaeth efengyl Crist i'r ardd gnau (sef eglwys yr Iuddewon) ac y deuent hwythau gyd â'r Cenhedloedd, yn rhyddion ac ewyllysgar, i groesawi Crist: yna bydd pawb yn ewyllysgar. Sal. 110, 3. yn derbyn y gair gyd â pharodrwydd meddwl. Act. 2, 41. a 17. 11. Pryd hynny y bydd Crist fel cerbydau iddynt, i'w dwyn y'mlaen mewn gras; trwy weinidogaeth ei air: gan eu cadw hwynt a dyfetha eu holl elynion. Esay 66, 14, 15. Gwel Ainsworth ar Cant. 6, 12.

AMMISADAI, [*pobl yr Hollalluog*] tad Ebiezer. Num. 1, 12.

AMMOD, y mae 'r gair hwn yn fwyaf cyffredin yn arwyddoccâu, un yn ymrwymo, Ecsod. 23, 32. Hos. 2, 18. Adduned. Job 31, 1.

Efay 28, 16. Ac weithiau cyfammod. Ezec. 37, 26. Zec. 9, 11. *Edr.* CYFAMMOD.

AMMON, [*pobl*, neu *fab fy mhobl*] hiliogaeth Ben-ammi, y mab a genhedlodd Lot o'i ferch ieuengaf. Efe oedd tad yr Ammoniaid, pobl oedd yn trigo y'nghyffiniau Judea; y rhai hyn ynghŷd â'r Moabiaid a ymladdafant lawer brwydr â meibion Ifrael. Yn ol gair Ezeciel 25, 4, 10. hwy a ddygwyd i gaethiwed gan Nebuchadonofor. Yn ninyftr mawr Jerufalem hwy a fuont greulon iawn; am hynny y mae 'r prophwydi yn eu bygwth hwythau. Amos 1, 11, Gelynion parhâus oeddynt i Ifrael, er eu curo gan Jephtha. Barn. 10. Gan Saul. 1 Sam. 11. A chan Ddafydd. 1 Cron. 19.

AMNON, [*ffyddlon a chywir*] mab ieuengaf Dafydd o Ahinoam ei ail wraig. Yr hwn yn anghyfreithlon a chwenychodd ei chwaer Tamar, a'i treifiodd hi, a chwedi hynny a'i cafäodd. Abfalom yn mhen dwy flynedd gwedi hyn, a wnaeth wledd, lle y parodd i'w weifion ladd *Amnon* yn ei feddwdod. 2 Sam. 13.

AMON, [*ficr*, *fefydlog*] (1.) llywodraethwr Samaria, yr hwn y gorchymmynodd Ahab iddo garcharu 'r prophwyd Micëa, hyd oni ddychwelai efe adre 'n iach o ryfel Ramoth Gilead. 1 Bren. 22 26. (2.) Mab Manaffe, y pedwerydd brenin ar ddeg ar Juda; fe ddaeth i'r orfedd yn y flwyddyn O. y B. 3363, cyn Crift 637, ac a deyrnafodd ddwy flynedd, gan ddilyn fiampl Manaffe ei dad, a gwneuthur yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd; ei weifion a'i lladdafant ef yn ei dŷ ei hun, a Jofia ei fab a deyrnafodd yn ei le ef. 2 Bren. 21. (3.) Un arall o'r enw, oedd un o'r blaenoriaid yn y dychweliad o'r caethiwed. Ezra 2, 57. Neh. 7, 59.

AMORIAID, [*pobl wrthryfelgar*, neu *fiaradus*] eppil Amor, pedwerydd, mab Canaan. Llawer o honynt oedd Gawri uchel fel cedrwydd, a chedyrn fel derw. Amos 2, 9. Yr oedd ganddynt deyrnafoedd cryfion o du 'r dwyrain i'r Iorddonen, dan lywodraeth Sehon ac Og. Mofes a'u gorchfygodd hwynt, ac a roddes eu tiroedd yn etifeddiaeth i'r Gadiaid, y Rubeniaid, a hanner llwyth Manaffe. Deut. 1, 44. Jof. 12. Gan mai 'r Amoriaid oedd y rhai galluoccaf o'r llwyth, fe elwid y Canaaneaid eraill weithiau ar eu henw hwynt. Barn. 6, 10. 2 Bren. 21, 11. Rhïeni y genedl Iuddewaidd a ofodir allan megis *Amoriaid* a *Hethiaid*; yr oeddynt mor annheilwng ger bron Duw, ac mor ddrygionus ynddynt eu hunain, a'r ddau lwyth gwaethaf o'r Canaaneaid; Canaanead oedd gwraig Juda, mam Sela; a Tamar mam Phares a Zara. Gen. 38. Ezec. 16, 3.

AMOS, [*pwysfawr*, neu *lwyth*] tad Esay y prophwyd. Esay 1, 1. (2.) Y pedwerydd o'r prophwydi lleiaf; yn ei ddechreuad bugail, a chasglydd ffrwythydd, yn Tecoa, dinas fechan yn Juda; ynghylch 12 milldir o Jerusalem. Fe'i hanfonodd Duw ef i brophwydo yn erbyn y deg llwyth; ac hefyd yn erbyn Israel a Juda; gan eu bygwth â blinder, trais a chaethethiwed: ac yn enwedig teulu Jeroboam. Fe ddiweddodd ei brophwydoliaeth gan brophwydo am ddychweliad yr Iuddewon allan o gaethiwed Babilon, casgliad y cenhedloedd at Grist; a thröedigaeth Israel a Juda, a'u dychweliad i'w tir eu hunain, yn nechreuad y diwygiad mawr. Fe allai *Amos* fod yn fyw i weled llawer o'i bropwydoliaethau yn cael eu cyflawni. Rhai a ddywedent mai ymadroddwr gwael oedd efe; ond prin y gellir cael iaith ardderchocach nag y lefarodd efe yn ei ddysgrifiad am Dduw. Pen. 4. 13.

AMPHIPOLIS, [*dinas wedi ei hamgylchu*] dinas yn Macedonia, a adeiladwyd gan yr Atheniaid, o gylch 470 cyn Crist. Fe fu Paul a Silas trwyddi ar eu taith o Philippi i Thessalonica, ond nid ydym yn darllen am un eglwys Grist'nogol yno. Act. 17, 1. Y mae hi 'n bresennol tan feddiant y Twrc.

AMPLIAS, [*mawr*, *helaeth*] cyfaill Paul. Rhuf. 16, 8.

AMRAM, [*pobl dderchafedig*] mab Cohath; tad Moses, Aaron, a Miriam: efe fu farw yn yr Aipht yn 137 oed. Ecs. 6, 20.

AMRAPHEL, [*llefarydd pethau cuddiedig*, *am farn neu ddirystr*] brenin Sinar. Gen. 14, 1.

AMRYFUS, gwneuthur peth trwy anwybod, yn anfwriadol. Deut. 4, 44. Ezec. 45, 20. (2.) Camgymmeriad. Gen. 43, 12. Heb. 5, 2. Mat. 27, 64. *Amryfusedd cadarn*, pan fyddo Duw yn ei gyfiawn farn, a'i anfeidrol ddoethineb, yn goddef i Satan, eu chwantau, a gau athrawon, dwyllo a hudo dynion oddi wrth y gwirionedd; gan eu rhoddi i fynu i'w cyfeiliornadau ffiaidd y rhai y maent yn eu chwennych. Esay 66, 4. 2 Thess. 2, 11. 2 Pedr 3, 17.

AMSER, pryd. (1.) Mesur ysgogiad y tymhorau, parhâd pethau. Salm. 89, 47. (2.) Cyfleusdra cyfaddas i wneuthur rhyw weithred, neu gwplhâu rhyw amcan. Preg. 3, 1. a 8, 5, 6. Gen. 18, 10. Ioan 7, 6. (3.) Blwyddyn, saith *amser*, saith mlynedd ydynt. Dan. 4, 16. a 7, 25. (4.) Dydd y farn olaf, y pryd y teflir y cythreuliaid i'w lle 'u hunain. Mat. 8, 29. *Mewn amser ac allan o amser*, h. y. pob odfa, pob cyfleusdra. 2 Tim. 4, 2. Dyoddefiadau 'r saint a elwir *ychydig amser*. Dat. 6, 11, a 20, 3. *Amseroedd gorphwys, ac adferiad pob peth.* Act. 3, 19, 20.

Y dydd olaf, pan lawn gyfuro Duw ei bobl, ac yr adfero efe 'r holl greadigaeth i'w phurdeb a'i hanrhydedd cyntaf. Rhuf. 8, 21. Dyddiau 'r efengyl a elwir yn *amfer ferchawgrwydd, amfer cymmeradwy*. Ezec. 16, 8. Salm 69, 13. 2 Cor. 6, 2. *Amfer bywiolaeth*, naw mis o feichiogrwydd. Gen. 18, 10, 14. *Yr amferoedd diweddaf*; naill ai y rhan ddiweddaf o'r byd, ai holl amfer yr efengyl; yn neillduol pan oedd y feremoniau Iuddewig yn myned i gael eu dyddymmu. 1 Pedr 1, 20. Efay 2, 2. Mica 4, 1. 1 Iöan 2, 18. neu y rhan olaf o amfer Crift'nogaeth, a ofodir allan yn amferoedd peryglus, pan y bydd llawer o watwarwŷr, a gau broffefwŷr. 1 Tim. 4, 1. 2 Tim. 3, 1—5. 2 Pedr 3, 3. Sonir hefyd am *amfer addewid*. Act. 7. 17. Adfyd. Jer. 2, 27. a 15, 11. Blinder. Jer. 30, 7. Cyfyngder. Dïar. 20, 10. Cyftudd. Efay 33, 2. Drwg. Amos 5, 13. Mic. 2, 3. Digofaint. Jer. 18, 23. Diweddaf. 1 Pedr 1, 5. 1 Tim. 4, 1. Ffrwythau. Math. 21, 24. Marc 12, 2. Geni a marw. Preg. 5, 2. Terfynedig. Job 7, 1. Ymddattodiad. 2 Tim. 4. 6.

AMSERAU, neu AMSEROEDD, (1.) Hiftoriau a chyfreithiau 'r Perfiaid. Eft. 1, 13. (2.) Y pryd y fefydlid teyrnas Crift, yr hyn beth ni pherthynai i ddynion ei wybod. Act. 1, 7. (3.) Bywyd cyfnewidiol y faint yn y byd. Salm 31, 15. Dan oruchwyliaeth y ddeddf, a elwir *amferoedd yr anwybodaeth*. Act. 17, 30.

AMYNEDD, y gras, neu 'r rhinwedd hwnnw, fy 'n galluogi dynion i ymlonyddu, mewn cyftudd a thrallod; ac hefyd i beidio ymddial ar y rhai a wnel niweid iddynt. Luc 8, 15. Heb. 10, 36. Eph. 4, 2. Col. 3, 13. Iago 1, 3. (2.) Hir *amynedd* Duw, ei hir ddyoddefgarwch ef tu ag at drofeddwŷr, heb eu cofpi hwynt. Rhuf. 2, 4. Mat. 18, 26, 29. Fe fonir llawer yn y Teftament Newydd am *amynedd* y faint, gan olygu eu herledigaethau trymion; felly y gwelwn fod *amynedd* bob amfer ynglŷn â *theyrnas* Crift; canys trwy lawer o orthrymderau y mae 'n rhaid myned i mewn i deyrnas Dduw. Dat. 14, 22.

ANA, [*atteb, tlawd, trallodedig*] tad Aholibama graig Efau. Gen. 36, 2.

ANAB, [*grawnwin*] dinas yn mynyddoedd Juda: fe allai mai yr un yw hi â Nob. Jof. 11, 21.

ANAC, [*torch, addurn*] cawr; tad yr Anaciaid, pobl lïofog iawn, yn trigo yn Hebron, Debir, Anab, &c. Jof. 11, 21. Eu golygon creulon, a'u maintioli dirfawr, a fawr ddigalonodd yr yfpïwŷr anghredinïol, y rhai a anfonodd Mofes i edrych anfawdd gwlad yr addewid, Num. 13, 33.

Ynghylch 45 o flynyddoedd gwedi hyn, cafodd Caleb grediniol eu dinas bennaf hwynt yn etifeddiaeth iddo ei hun. Jos. 14, 6—15.

ANADL, yr awyr naturiol sydd yn myned ac yn dyfod trwy 'n ffroenau a'n geneuau. Job 9, 18. Act. 17, 25. Ein bywyd naturiol sydd yn cael ei alw *anadl:* trwy anadlu y mae 'n cael ei gynnal; ac, megis chwa, neu awel o wynt y mae 'n fuan yn myned heibio, ac yn diffoddi. Salm 78, 39. a 146, 4. Esay 2, 22. *Anadl* Duw yw ei Yspryd, yr hwn sydd yn deilliaw oddi wrth Dad a Mab, trwy 'r hwn y maent yn trosglwyddo bywyd i greaduriaid. Salm 33, 6. a 104, 30. Wrth Dduw 'n *anadlu* y meddylir crëu enaid mewn corph dyn. Gen. 2, 7. Crist yn *anadlu,* rhoddi doniau 'r Yspryd Glân. Iöan 20, 22. *Anadl* yr Yspryd (gwynt) ar yr esgyrn sychion, sydd yn arwyddo rhoddiad zel, hysder, a gobaith i gaethion Babilon; rhoddi bywyd ysprydol a bywiogrwydd yn yr holl etholedigion; bywhâu ac adgyfodi cyrph y saint yn y dydd olaf. Ezec. 37, 9. Y mae Zedecïa yn cael ei alw *anadl* ffroenau 'r Iuddewon; trwy gynnorthwyon brenhinoedd y mae 'n bywyd yn cael ei ddiogelu 'n gysurus. Galarn. 4, 20.

ANADNABYDDUS, yr hyn nid ydys yn ei adnabod, bod heb ymgyfeillachu âg Act. 17, 23. (2.) Bod heb barchu a mawrhâu. Paul a'i gyd-bregethwŷr oeddynt megis yn *anadnabyddus* gan y byd yn eu cyflwr ysprydol a'u llafurwaith, ac oeddynt yn annerbyniol ac yn ddigyfrif gan ddynion cnawdol; eithr yn *adnabyddus* ac yn *dderbyniol* gyd â Duw, Tad, Mab, ac Yspryd. 2 Cor. 6, 9.

ANAELE, poen neu friw anfeddyginiaethol. Jer. 15, 18.

ANAFUS, un wedi cael anaf arno trwy ddamwain neu fod felly o groth ei fam; amryw o honynt a gafodd eu hiachâu gan Iesu Grist. Mat. 15, 30. Marc 9, 43.

ANAML, ychydig, neu anfynych. Preg. 5, 2. Mat. 9, 37. Luc 10, 2. *Edr.* YCHYDIG.

ANANIA, [*cwmmwl,* neu *ddifinyddiaeth yr Arglwydd*] dinas. Neh. 11, 32. (2.) Enw dyn. Neh. 3, 23.

ANANIAS, [*gras Duw*] efe a Sapphira ei wraig oeddynt y'mhlith y Crist'nogion cyntaf yn Jerusalem, y rhai a darawyd yn ddisymmwth yn feirw, am ddywedyd celwydd wrth yr Yspryd Glân. Act. 5. Eu pechod oedd, cadw iddynt eu hunain ran o werth yr hyn yr oeddynt yn gymmeryd arnynt roddi 'n ewyllysgar i fod yn gyffredin, ac felly, oeddynt yn gyssegr-ladron.

(2.) ANANIAS dyſgybl i Ieſu Griſt; a thebyg ei ſod yn un o'r deg a thrugain. Fe a bregethodd yr efengyl yn Damaſcus. Cyfarwyddwyd ef mewn gweledigaeth i ymofyn am dŷ Judas, ac am Saul o Darſus yr hwn ydoedd newydd ddyfod yno, dymunodd gael ei eſguſodi, o blegid iddo glywed ſod Saul yn erlidiwr creulon; a bod ganddo awdurdod o Jeruſalem i garcharu 'r holl Griſt'nogion a gaffai efe yn y ddinas honno. Dywedodd yr Arglwydd nad oedd dim perygl iddo; o blegid peth bynnag a fuaſai Saul, ei fod ef yn awr yn lleſtr etholedig i bregethu 'r efengyl i'r Cenhedloedd. Ananias ar hynny a aeth i'r tŷ, ac a gafodd Saul yn ddall; rhoddes ei ddwylaw arno; ac yn enw 'r Ieſu a barodd iddo gael ei olwg, a'i lenwi â'r Yſpryd Glân; ac yn ddïoed y ſyrthiodd cenn oddi wrth ei lygaid, a chafodd ei olwg; bedyddiwyd ef, a derbyniodd yr Yſpryd Glân. Act. 9, 1—18. A thrigodd y'nghymdeithas yr apoſtolion.

(3.) ANANIAS, mab Nebedeus, arch-offeiriad yr Iuddewon ynghylch B. yr A. 47. Yr arch-offeiriad hwn y bu Paul yn ei ddifrïo mewn byrbwyldra, pan ddygwyd ef ger ei fron. Act. 23, 3. P'odd bynnag y rhagddywediad i *Ananias, y byddai i Dduw ei daro yntau*, a gyflawnwyd gwedi hyn, pan laddwyd ef yn ei balas gan blaid o derfyſgwŷr, lle 'r oedd ei ſab yn flaenor.

ANATH, [*atteb, cyſtudd, tlodi*] tad Samgar, barnwr yn Iſrael. Barn. 3, 33.

ANATHEMA, gair Groeg, yn arwyddoccâu peth wedi ei neillduo. Y mae 'r gair yn gyffredinol yn cael ei deall i arwyddo torri ymaith, neu yſgymmuno un o gynnulleidfa 'r ffyddloniaid, oddi wrth rifedi y rhai byw, neu oddi wrth fraint cymdeithas; neu roddiad anifail, dinas, neu ryw beth arall, i fynu i ddyſtryw, yr hyn ni's gellid ei waredu mwy. Lef. 27, 28, 29. megis y gwneid â pethau wedi eu cyſſegru i Dduw, adn. 2, o'r un bennod. Yr Iuddewon a'r Criſt'nogion gynt, a'u cymmerent am y radd uchaf o yſgymmundeb; yn enwedig pan y byddai gwedi ei gydio â MARANATHA. 1 Cor. 16, 22. Fe ddymunodd Paul fod yn *Anathema* oddi wrth Griſt dros ei frodyr; nid bod byth tan lywodraeth pechod, a chael ei fwrw i uffern, yr hyn ni's gall un dyn duwiol ei wneuthur; ond cael ei fwrw allan o'r eglwys Iuddewig yn goffadwriaeth amſerol, pe gallaſai hynny fod yn foddion i brynnu 'r Iuddewon o'u tragywyddol ddinyſtr.

ANATHOTH, [*cyſtuddiau*, neu *dlodi*] dinas yn llwyth Benjamin, dair milldir o Jeruſalem; lle ganwyd y prophwyd Jeremi. Joſ. 21, 18. Jer. 1, 1.

ANCHWILIADWY, yr hyn ni ellir ei chwilio allan; uchder y nefoedd,

meddyliau calon brenin, &c. Diar. 25, 3. Barnedigaethau Duw a'i fawrhydi, a golud Crist; sydd *anchwiliadwy,* uwch cyrhaeddiad un creadur. Eph. 3, 8. Rhuf. 9, 33. Salm 145, 3.

ANDREAS, [*gwr cadarn*] brawd Pedr, apostol i Iesu Grist, prïodor o Bethsaida, a physgodwr o'r dref honno. Iöan 1, 40.

ANDRONICUS, [*gwr buddugoliaethus*] enw gwr duwiol. Rhuf. 16, 8.

ANER, [*atteb, cân*] dinas yn llwyth Manasse. 1 Cron. 6. 70.

(2.) ANER ac ESGOL, dau o dywysogion y Canaaneaid, y rhai a gynnorthwyasant Abraham â'u byddinoedd, i erlid y brenhinoedd hynny y rhai a yspeiliasant Sodom, ac a ddygsant Lot ymaith. Gen. 14, 13.

ANFARWOLDEB, anmhossiblrwydd i farw, neu yr hyn sydd o natur yn byw. Mae hyn yn perthyn yn gyntaf i Dduw, yr hwn sydd anfarwol, anfeidrol; heb ddechreu dyddiau, na diwedd blynyddoedd. Dan. 7, 9. 1 Tim. 1, 17. Tragywyddol wynfydedigrwydd y saint, a elwir *anllygredigaeth,* ac yn ol y cyfieithad Saesoneg *anfarwoldeb.* Rhuf. 2, 7. Ein cyrph marwol a wisgant anfarwoldeb, pan adgyfodant yn anllygredig o'r bedd. 1 Cor. 15, 53.

ANFEIDROL, anfesuredig, neu 'n hytrach adfesuradwy, yr hyn ni ellir ei fesur. 2 Cron. 4, 18. Marc 7, 37. Fe arferir y gair weithiau, i ddangos mawredd peth mewn mesur, pwys, neu achos, a hynny mewn ffordd *ffigurol.*

ANFON, neu DANFON, (1.) Ordeinio i fyned, Deut. 1, 22. (2.) Peri i ddyfod. Deut. 28, 20. (3.) Cyfrannu neu *anfon* cymmorth. Act. 11, 30. Duw 'n anfon ei Fab, sy 'n arwyddo ei ordeiniad ef i gymmeryd arno ein natur ni, ac yn y byd hwn gyflawni 'r gyfraith yn ein lle, yr hon oeddym ni gwedi ei thorri; ac i'n gwaredu oddi wrth ein pechodau a'n holl drueni. Gal. 4, 4. Y mae 'r Tad a'r Mab yn *anfon* yr Yspryd Glân i argyhoeddi, i ddychwelyd, i arwain, cysuro, a sancteiddio y Prynedigion. Iöan 14, 26. 16, 7. Mae fod Duw 'n anfon prophwydi, apostolion, a gweinidogion, yn arwyddo ei fod yn rhoi iddynt awdurdod a gallu, i gyflawni 'r swydd, yn y lle a'r modd y mynno efe. Rhuf. 10, 15.

ANFUDDIOL, diddefnydd, heb fod yn lleshâu dim. Job 15, 3. Y mae 'r gair yn Hebraeg yn arwyddo *drewllyd, pwdr.* (1.) Dynion drygionus ydynt fraenllyd, mewn modd ysprydol, drewllyd a ffiaidd gan Dduw, nid ydynt yn meddwl am ei Enw a'i ogoniant ef, nac ychwaith am ddim gwir les iddynt eu hunain nac i eraill. Salm 14, 3. Philem. 11. (2.) Y gyfraith seremoniol oedd *anfuddiol,* yr hon oedd annigonol i dynnu ym-

aith euogrwydd, na grym pechod. Heb. 7, 18. Trifthâu gweinidogion fydd yn *anfuddiol* i'w gwrandawŷr. Heb. 13, 7.

ANFFRWYTHLON, digynnydd, diles, anfuddiol. Mat. 13, 22. Tit. 3, 14. Heb fod yn debyg o atteb un dyben daionus, eithr niweidiol yn mhob peth. Eph. 5, 11.

ANFFURFIO, aflunieiddio, difwyno neu lygru yn ol y Groeg. Mat. 6, 16.

ANFFYDDLON, twyllodrus, gau, rhagrithiol, anghywir mewn cyflawniad o addewidion ac addunedau. Dïar. 7, 6, 23. a 25, 19. Salm 78, 67. Mal. 2, 10, 11.

ANGALL, ffol, ynfyd, anghywrain: Pob dyn heb ei wneuthur yn ddoeth i Iechydwriaeth fydd *angall*. Dïar. 1, 4. Rhuf. 2, 20.

ANGEL, [*cennad*, neu *genhadwr*] yfprydion gwafanaethgar ydynt, wedi eu danfon gan Dduw i wafanaethu er mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth. Heb. 1, 14. Act. 12, 15. CRIST, *Angel* mawr y cyfammod. Mal. 3, 1. Barn. 2, 1. Gen. 16, 7. Gweinidogion yr efengyl, y rhai fydd wedi eu hanfon gan Dduw i gario cennadwriaeth y cymmod i blith dynion. Dat. 2, 1. 2 Cor. 8, 20. Yfprydion y tywyllwch, a gweinidogion digofaint Duw, a elwir Angylion. Dat. 7, 1.

ANGEN, eifiau, rhaid, tlodi. Job 28, 27. Dïar. 24, 34.

ANGENRHAID, yr hyn ni ellir ei hepcor; rhwymyn awdurdodol, megis ag yr oedd ar Paul i bregethu 'r efengyl. 1 Cor. 9, 16. 2 Cor. 9, 7. Un peth fydd *angenrheidiol*, cael rhan y'Nghrift, heb hyn ni allwn fyw, ond tan y felldith; ni allwn farw, heb fyned i boenau tragywyddol; ac ni allwn anrhydeddu Duw, llwyddo ein hunain, na bod o ddefnydd da i eraill chwaith. Luc 10, 42.

ANGEU. yr hyn fy 'n terfynu bywyd, marwolaeth. Dïar. 10, 2. a 11. 4.

ANGHOFIO, gollwng dros gôf, neu fod yn gwbl ddiofal, am un, neu beth. Deut. 4, 9. Gollwng Duw a'i air o'r meddwl; o hyn y tŷf anufudd-dod, ac efgeuldra o addoliad cywir. Barn. 3, 7. Salm 78, 42. Y mae 'r duwiol felly 'n ormod, a'r annuwiol 'n gwbl. Iago 1, 24. 25. Nid *anghofia* Duw gofpi gweithredoedd y rhai drygionus, Amos 8, 7. na gobrwyo gweithredoedd y faint. Heb. 6, 10.

ANGHREDADYN, ethnig, un heb gredu 'r efengyl. Iöan 20, 27. Act. 14, 2. 1 Cor. 7. 15. *Edr.* DIGRED.

ANGHREDINIAETH, gwrthodiad o bwyfo ar dyftiolaeth ficr, llod

heb ymddibynnu ar dystiolaeth Duw am ei Fab, pan y mae 'n cael ei gynnyg yn Iachawdwr digonol i bechaduriaid truenus. Dyma 'r pechod mwya atgas o holl bechodau dynol-ryw; hwn yw gwreiddyn neu ffynnon yr holl bechodau eraill, o'r lle maent yn tarddu ac yn tyfu; mae hwn fel brenin ar y pechodau eraill, a than ei lywodraeth ef, y mae chwantau cnawdol yn rhyfela yn erbyn yr enaid: Y mae hwn fel Saul yn Israel yn dalach o'i ysgwyddau, na 'r un o'r lleill: Dyma 'r un sydd yn ei natur yn rhoi 'r celwydd i Dduw 'r gwirionedd; yr hwn sydd heb gredu i Dduw a'i gwnaeth ef yn gelwyddog. 1 Iöan 5, 10. Pa beth yw 'r pechod yn erbyn yr Yspryd Glân, ond *anghrediniaeth* gwedi ei berffeithio. Iöan 16, 10. Heb. 3, 12. a 10, 26—30. Y mae *anghrediniaeth* naill ai yn *naccaol* yn y cyfryw ar ni chlywsant yr efengyl, ac felly gelwir y Paganiaid yn anghredinwŷr, ac anffyddloniaid digred. 1 Cor. 6, 6. 2 Cor. 6, 14. neu 'n *bendant* yn y rhai sy 'n clywed yr efengyl ac yn ei phroffesu hi, etto heb gredu â'r galon fod Duw yn cynnyg ei Fab, a iechydwriaeth gyflawn trwyddo ef, iddynt hwy yn neillduol. Luc 12, 46. Tit. 1, 15. Dat. 21, 8. Weithiau fe elwir ffydd wan yn *anghrediniaeth*. Marc 9, 24. Anghrediniaeth a gauodd yr Israeliaid o Ganaan; ac anghrediniaeth a gau bawb a fyddo dan ei lywodraeth o'r nefoedd byth. Heb. 3, 9. Ni wnaeth Crist nemmawr o weithredoedd nerthol yn ei wlad ei hun, o herwydd eu hanghrediniaeth hwynt; eu diystyrwch a'u hanymddiried hwynt iddo ef a'i wyrthiau, a'u hanghymmwysodd i gael y fath fraint yn eu plith. Marc 6, 5, 6. Ammheuaeth yr apostolion o addewid Crist, a'u gwnaeth hwynt yn analluog i fwrw allan gythreuliaid. Marc 17, 16. *Anghrediniaeth* yr un modd a wnaeth i Bedr suddo wrth rodio ar y môr. Mat. 14, 30, 31.

ANGHRIST, *gwrthwynebwr Iesu Grist;* pawb a fyddo 'n wrthwynebwŷr iddo ef yn ei Berson neu yn ei achos; pawb a fyddo yn ymladd yn ei erbyn â chleddyf, â genau, neu âg ysgrifen. 1 Iöan 2, 18. a 4, 3. (2.) Twyllwr a heuro mai efe yw Crist, megis y gwnaeth llawer, neu a ddywedo, Myfi sydd bennaf, neu 'n unig, tros Grist; fel y gwna 'r Pab. Mat. 24. Y mae 'n cael ei alw y *dyn pechod; mab y golledigaeth; yr ail anifail; brenin y locustiaid, &c.* tad pob creulondeb ffieidd-dra a thywyll. 2 Thess. 2. Er creuloned oedd, ac yw *Anghrist*, etto mae 'n rhaid iddo gwympo; canys, fe ddilëa Iesu bob pendefigaeth, a phob awdurdod a nerth; rhaid iddo deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed. 1 Cor. 15, 24, 25. Dat. 17, 16. a 18, 19.

ANGHYFANEDD, (1.) lle anial heb drigianydd. Esay 6, 11. a

7, 19. Barnedigaethau Duw ydynt yn gwneuthur *anghyfanedd dra.* Seph. 1, 15. Teml fawr Jerusalem a adawyd yn *anghyfannedd*, ymadawodd presennoldeb Duw allan o honi hi. Mat. 23, 38. Jer. 19, 8.

ANGHYFIAWNDER, yr hyn sydd wrthwyneb i iawnder, ac uniondeb. Heb. 6, 10. *Anghyfiawnder*, (1.) yr hyn sydd wrthwyneb i gyfraith Duw 'n gyffredinol. 1 Cor. 6, 9. 1 Iöan 1, 9. (2.) Yr hyn sydd wrthwyneb i'r dyledswyddau sydd arnom i ddynion. Rhuf. 1, 8. Ecs. 23, 1. neu, (3.) yr hyn sydd dwyllodrus, gau, a chyfeiliornus, ac yn anuniawn yn tueddu i gam arwain dynion. Iöan 7, 18. Anghyfiawn yw y rhai, (1.) a dwyllo eu cymmydogion. Salm 43, 1. neu, (2.) pechaduriaid yn gyffredinol, y rhai sydd yn gwneuthur cam â Duw, am ei wasanaeth a'i anrhydedd dyladwy, ac yn ei wyddfod ef yn twyllo eu cymmydogion yn ddirfawr. 1 Pedr 3, 8.

ANGHYMMARUS, yr hyn ni's gellir o naturiaeth ei gymmharu; megis y dywedir trwy Moses, "Nac ardd âg ŷch ac âg asyn ynghŷd." Deut. 22, 10. Nid oeddynt o'r un rhyw, yr oedd un yn lân, a'r llall yn aflan; felly nid oeddynt yn gymmwys gymmhariaid. Dyna ieuo *anghymmarus* y mae 'r apostol yn ei henwi yn 2 Cor. 6, 14. rhwng credadyn ac anghredadyn; nid ydynt hwy ddim o'r un rhyw, am hynny nid cymmwys eu bod tan yr un iau; y mae un wedi ei genhedlu, a'i eni, 'n llygredig, ac yn ymdroi beunydd mewn aflendid, a llygredigaeth; heb fforchogi 'r ewin, trwy rodiad diargyoedd yn ol cyfraith Duw, a chnoi 'r cîl ar wirioneddau pur efengyl Iesu, trwy wneuthur derbyniad croesawgar o honynt, a myfyrio 'n ddyfal beunydd arnynt yn eu calon: ond y mae 'r llall, sef credadyn, wedi ei eni drachefn oddi uchod, trwy rym yspryd y gras; ac ni's gall efe rodio yn yr hen gwys o lygredigaeth y cnawd fel y bu o'r blaen, na than iau drom llywodraeth pechod, ac aflendid cnawdol; ond y mae ffyrdd Duw ganddo ef yn ffyrdd hyfrydwch, a'i lwybrau yn llwybrau heddwch; ac y mae gair Duw yn felysach i'w enau na 'r mêl ac na dyferiad y diliau mêl; gan hynny, Pa ran sydd i gredadyn gyd âg anghredadyn? *Na ieuer chwi 'n anghymharus gyd â'r rhai digred: canys pa gyfeilliach sydd rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder?* 2 Cor. 6, 14.

ANGHYMMERADWY, (1.) peth annerbyniol; yr hyn nad yw ac ni's gall fod mewn cymmeriad 1 Cor 9, 27. (2.) Dyn heb wir brofiad o Dduw y'Nghrist. 2 Tim. 3, 8. Tit. 1, 28.

ANGOR, offeryn i ddal, neu i rwystro mynediad llong yn y môr. Yr oedd amryw fath o *angorau* yn arferedig gynt, rhai o goed, cerrig, a phlwm; a chyfryw yw angorau rhai gwledydd etto. Hwy fyddent yn

taflu angor gynt o ben ol y llong. Act. 27. 20. *Angorau* yr oes brefennol, ydynt ddarn o haiarn mawr bachog, fel ar ba ochr bynnag y difgynno y byddo iddo lynu yn y llawr. Gobaith a elwir *angor yr enaid*, o blegid ei fod yn fefydlu 'r enaid, ac yn ei alluogi i fefyll yn wyneb gwyntoedd ac yftormydd, mewn nofweithiau tywyll o brofedigaethau. Heb. 6, 19.

ANHAWDD, Gen. 18, 14. Ecf. 15, 15. 2 Pedr 3, 16.

ANNHEILWNG, anhaeddianol, anghymmwys, 1 Cor. 6, 2. yr Iuddewon a'u barnafant eu hunain yn *annheilwng o fywyd tragywyddol*, wrth wrthod yr efengyl. Act. 13, 46. Y mae dynion yn *bwytta ac yn yfed yn annheilwng*, wrth ddyfod at fwrdd yr Arglwydd yn weifion gwirfoddol i Satan a phechod; yn anwybodus o'r dyben, yn anghrediniol yn y gwir wrthrych, yn anedifeiriol am eu pechodau aethant heibio, ac heb fwriad i ddilyn buchedd newydd. 1 Cor. 11, 27, 29.

ANHYGOEL, pethau anhawdd eu coelio. Luc 5, 26.

ANHYMMIG, un gwedi ei eni allan o amfer, heb gyrraedd amfer bywiolaeth yn y groth. Paul a aned allan o amfer i ddyfod at Grift yn y cnawd, ni alwyd ef i'r apoftoliaeth, tan ar ol derchafiad Crift i'r nefoedd. 1 Cor. 15, 8.

ANIALWCH, tir gwyllt heb âr-na medi, lle anghyfannedd, heb dai, na thrigolion ond ychydig. Jof. 14, 10. Job 12, 24. Hefyd lleoedd *anial* mynyddig â rhai trigolion a dinafoedd ynddynt. Luc 1, 40. 1 Bren. 2, 34. Jof. 15, 61. Anialwch Arabia, lle bu 'r Ifraeliaid yn crwydro 40 mlynedd a elwir yn neillduol felly. Ecf. 5, 3. Salm 78, 40. a 106, 14. Iöan 6, 31. Y rhan hynny o'r byd lle 'r oedd y Cenhedloedd yn difa eu gilydd fel anifeiliaid direfwm, heb gyfraith, moefau, nac ordinhadau. Efay 35, 1, 6. a 41, 19. a 43, 19. Cyftudd a chaethiwed Babilon. Hof. 2, 13, 17. Yr *anialwch* o'r hwn y mae 'r faint yn dyfod i fynu; eu cyflwr digyfur, diffrwyth, a pherygl, o anwybodaeth ac anghrediniaeth; y byd drwg prefennol o lygredd a chyfeiliornadau; a chyflwr o orthrymder ac erledigaethau. Can. 3, 6. 8, 5.

ANIANOL, naturiol, yn ol trefn natur. Rhuf. 1, 26. Proffefwŷr cnawdol heb waith yr Yfpryd Glân arnynt. Judas 10, 19.

ANIFAIL, creadur byw, heb wybodaeth refymol, a drefnwyd at wafanaeth dyn, ac i brydferthu 'r greadigaeth. Yr *anifeiliaid* dan y ddeddf a gyfrifid yn dri math. (1.) Y rhai glanaf, a mwyaf buddiol i ddynion, hawfaf eu cael, y rhai mwyaf cymmwys i fod yn aberthau i gyfgodi aberth Crist; sef ychen, defaid, geifr, colommenod, &c, Ni chaid bwytta

brasder y rhai hyn er nad aberthid ef. Tebyg mai y rhai hyn a gyfrifid yn lân wrth fyned i mewn i arch Noa. Lef. 1. a 18, 19, a 22. a 27, 3. Gen. 7, 8. (2.) Eraill mewn rhan yn lân i'w bwytta, ond nid yw hab-erthu; sef, y rhai ag oeddynt yn cnoi eu cìl ac yn fforchogi 'r ewin: Ond os byddai i un o' rhai hyn farw o hono ei hun, heb gael gollwng ei waed, neu gael ei ddryllio gan, neu fe allai gyffwrdd âg anifail aflan, yr oedd yntau 'n aflan hefyd. Deut. 14, 4,—6. Ecs. 22, 31. Lef. 9, 3, 9. a 22, 8. (3.) Y lleill a gyfrifid yn llwyr aflan, sef, y rhai creulon, ysglyf-aethus, ac adar y nos, &c. Lef. 9. Deut. 14. Onid oedd y rhai cyntaf yn gysgod o Iesu ein Prynwr llariaidd, addfwyn, parod a digonol aberth? Onid oedd yr ail yn gysgod o'r saint, y rhai sy 'n byw ac yn myfyrio ar iachus a phur air Duw, yn cael cymdeithas â Christ a'i bobl, ac yn nofio yn erbyn y ffrwd o lygredigaeth? Ac onid oedd y trydydd yn gosod allan y rhai drygionus creulon, heb fod yr yspryd ganddynt? Dynion o dym-herau tanllyd creulon yn erbyn Duw a'i bobl. 1 Cor. 15, 32. *Yr ym-laddais âg anifeiliaid yn Ephesus.* Y mae rhai yn deall y lle hwn yn llythyrenol, fod Paul er mwyn amddiffyn ei fywyd, wedi bod yn ymladd â chreaduriaid gwylltion, megis llewod, eirth, &c. trwy ddedfryd y swyddogion, i foddhâu creulonder y bobl: o blegid tan lywodraeth y Rhufeiniaid, fel mewn lleoedd eraill, byddid yn bwrw dynion yn noeth-lymmyniaid i blith creaduriaid gwylltion, Daniel gan y Persiaid, Ignatius hefyd a fwriwyd felly, ac a ddrylliwyd ganddynt; eraill a gondemnid i ymladd yn arfogion â bleiddiaid, &c. Eithr nid tebyg iawn fod Paul wedi cael ei daflu fel hyn, oedd yn wr breiniol; o blegid y drwg weith-redwŷr, a'r caethweision a fyddai fwya arferol o gael y driniaeth hon. Ond pa fodd bynnag y deallir y testyn, yn ffigurol, neu 'n llythyrenol, y mae 'n dangos y peryglon dirfawr yr aeth Paul trwyddynt, er mwyn gobaith o adgyfodiad gwynfydedig. Gwel Act. 19, 29. Y Cenhedl-oedd a elwir *anifeiliaid y maes,* o blegid eu pellder oddi wrth Dduw, a chymdeithas ei bobl. Esay 43, 20. Ymerodraeth y Caldeaid a'r Persiaid a gyffelybir i *anifeiliaid.* Dan. 7, 11. O blegid y creulondeb sydd yn-ddynt. Dat. 12, a 13, a 17. Y pedwar *anifail* yn Datguddiad y 4. 7. (yn ol meddyliau rhai) ydynt angylion Duw ei weinidogion pennaf. Dynion o ran eu dull, Llewod o ran eu cryfder, Ychen o ran eu hamynedd, ac Eryrod o ran eu cyflymdra. Rhai eraill a'u cyffelybant i'r pedwar efangylwr, &c. Eithr yr oedd Ioan etto 'n fyw, gan hynny nid y ped-war efengylwr oeddynt. Y mae esponiadau, a dychymmygion yn ddi-rifedi am danynt; rhai un peth ac eraill beth arall. Eithr y mwyaf te-

bygol yw, mai gweinidogion yr efengyl a feddylir; gwedi eu cynnysgaeddu gan Dduw âg amryw ddoniau a chymmwysderau at ei waith. Rhai 'n hyfion a diofn fel llewod; rhai 'n amyneddgar a llariaidd fel ychen; eraill yn fwy call a synhwyrol megis dynion; ac eraill yn canfod ac yn treiddio yn mhell i ddyfnderoedd teyrnas Crist; am hynny yn cael eu cyffelybu i eryrod.—Wrth eu hadenydd, y deallir eu parodrwydd i ufuddhâu, ac i fyned lle 'r anfonir hwynt gan Dduw.

ANLLYGREDIG, dilwgr, pur, digyfeiliornad. 1 Pedr 1, 4. 1 Cor. 15, 52. Tit. 2, 7.

ANLLADRWYDD, aflendid, anniweirdeb, nwyfiant, trythyllwch: *A chandai ymddygiad puttain* Diar. 7, 10. Ymddygiad anniwair, gwisgoedd anaddas a ffol; ymadroddion yn tueddu at lygru moesau. Marc 7, 22. 1 Cor. 7, 5. Gal. 5, 19.

ANLLYTHYRENOG, rhai heb ddysgeidiaeth ddynol; yn yr ystyr helaethaf o'r gair, heb fedru llythyren, neu heb fedru ar lyfr: ond mewn ystyr arall, yr hon sydd bur gyffredin, rhai heb ddygiad i fynu rheolaidd, ac ysgolheigaidd. Ni's gallwn feddwl fod Pedr ac Iöan heb fedru ar lyfr, o blegid hwy a 'sgrifenasant epistolau; ond yr oeddynt heb y cyfryw ddygiad i fynu ag a gafodd Paul wrth draed Gamaliel. Act. 4, 13.

ANMHARCH, anfri, dianrhydedd, dirmyg. Act. 5, 41. 2 Cor. 12, 10.

ANMHLANTADWY, dieppiledd, diffrwyth, diblant. Gen. 11, 30. Heb 11, 11. Eglwys yr Iuddewon a elwir yn anmhlantadwy, am ei bod yn dwyn llai o blant i Dduw na 'r Cenhedloedd. Esay 54, 1. Gal. 4, 27.

ANMHOSIBL, yr hyn ni's gall fod mewn un modd. Mewn perthynas i natur Duw y mae 'n *anmhosibl* iddo fod yn gelwyddog, neu ei wadu ei hun. Heb. 6, 18. Tit. 1, 2. Mewn perthynas i'w allu, nid oes dim da yn *anmhosibl* iddo. Luc 1, 37. Mewn perthynas i dragywyddol arfaeth, a threfn ragluniaethol Duw, y mae 'n *anmhosibl* ddyfod rhwystrau, neu i'r etholedigion gael eu twyllo. Luc 17, 1. Mat. 24, 24. Mewn perthynas i'w allu ef yn cydfyned â'r weinidogaeth, nid oedd dim gwyrthiol yn *anmhosibl* i'r apostolion. Mat. 17, 20. Yr hyn sydd *anmhosibl* gyd â dynion, yw 'r hyn ni's gallant ei ddwyn i ben, o eisiau gallu a doethineb. Mat. 19, 26. Heb ffydd *anmhosibl* yw rhyngu bodd Duw. Heb. 11, 6.

ANNA [*grasluwn, trugarog*] merch Phanuel o lwyth Aser; hi a brïodwyd yn ieuangc, ac a fu fyw saith mlynedd o'i morwyndod gyd â gwr,

Gwedi ei farw, hi a ymroddodd at wasanaeth Duw; ar bob amser boreuol a hwyrol aberth yn y deml, yr ydoedd hi yno yn tywallt ei gweddïau. Pan oedd hi 'n ynghylch pedwar ugain mlwydd oed, hi a gafodd gyflawniad o'r hyn yr oedd hi trwy ffydd yn ei ddysgwyl; daeth Mair â'i dwyfol Fab i'r Deml: Hithau gyd â Simeon a'i molianodd ef, gan ei gydnabod yn wir Fessia. Luc 2, 36, 37.

ANNAS, [*trugarog, grasol*] arch-offeiriaid yr Iuddewon, tad ynghyfraith Caiaphas, yr hwn y dygwyd Iesu Grist o'i flaen ar ol ei ddal yn mynydd yr Olewydd. Ioan 18, 13.

ANNEDD presswylfod, trigfa. Lef. 25, 29.

ANNER, buwch ieuangc heb fod llo drwyddi. Fel y mae 'r geiriau ych, a tharw, yn ffigurol, yn gosod allan y cyfoethog a'r galluog, y rhai sy 'n byw mewn llawnder, y rhai a anghofiant Dduw, ac a ddiystyrant y tlawd; felly wrth *annerau* y meddylir merched a syddo 'n byw yn yr un fath lawnder ac esmwythfyd nes dyfod yn wresog ac anllad. Barn. 14, 18. *Anner* goch berffaith-gwbl ddianaf, heb fod iau arni, a roddid yn llaw 'r arch-offeiriad i'w dwyn o'r tu allan i'r gwersyll, ac i'w lladd yngwydd y bobl: yr oedd yr offeiriad i drochi ei fŷs yn y gwaed, ac i'w daenellu saith waith tua wyneb y babell; yna llosgi 'r *anner*, y cig a'r croen, y gwaed a'r biswail. Yr oedd efe hefyd i gymmeryd coed cedr, ac isop, âg ysgarlad, a'i fwrw i ganol llosgfa 'r *anner*, ac wedi golchi ei gorph a'i ddillad, a'r hwn oedd yn llosgi 'r *anner* wneuthur yr un peth, hwy a ddychwelent i'r gwersyll ac a fyddent aflan hyd yr hwyr: yr oedd y lludw i gael ei gasglu gan un glân, a'i osod o'r tu allan i'r gwersyll mewn lle glân, yr oedd efe i'w gadw i wneuthur defnydd o hono yn ddwfr neillduaeth, neu buredigaeth oddi wrth ryw gyffyrddiad aflan; yr *anner* hon a losgid tros bechod. Num. 19, 1, &c. Yr oedd y seremoni hon yn ol fel y dywaid Jerome, yn cael ei gwneuthur bob amser ar fynydd yr Olewydd, ar gyfer y Deml. Yr oedd yr *anner* goch yn gysgod rhagorol o Iesu Grist, yr hwn y mae ei waed yn glanhâu oddi wrth bob pechod. Heb, 9, 13, 14. a'r hwn a ddyoddefodd o'r tu allan i'r gwersyll neu 'r porth. Heb. 13, 12.

ANNERCH, cyfarch caredigol, trwy eiriau, cusanau, llythyrau neu genhadon. Act. 15, 23. Rhuf. 16, 16. 1 Cor. 16, 20.

ANNOETH (1.) un heb ddysgeidiaeth ganddo. Rhuf. 1, 14. (2.) Un heb adnabod Duw na'i ffyrdd; ond yn byw mewn ffolineb ac ynfydrwydd pechadurus. Eph. 5, 17. Tit. 3, 3. Salm 22, 6.

ANNUWIOL, annhebyg i Dduw, a gwrthwyneb i'w ewyllys a'i

ogoniant. Dynion *annuwiol* ydynt y cyfryw a'r fydd heb Dduw o ran eu cyflwr prefennol, ac yn annhebyg i Dduw yn eu calon a'u bywyd. Rhuf. 4, 5.

ANNUWIOLDEB, drygioni yn gyffredinol, ond y mae 'n cynnwys yn neillduol yr holl bechodau fydd yn erbyn y llech gyntaf o'r gyfraith, megis anwybodaeth, didduwiaeth, ofer-goel, cabledd, efgeulufdra o addoliad Duw, &c. Tit. 3, 11.

ANNYSGEDIG, rhai heb gael llawer o hyfforddiadau mewn celfyddydau a gwybodaethau; Act. 4, 13. neu anadnabyddus o feddwl Duw a dyfgeidiaeth ei Yfpryd. 2 Pedr 3, 16. *Annyfgedig* gweftiynau, cweftiynau ffol, anorphen, pethau nad ydynt fuddiol i ddim; ac nid ydynt yn tueddu at ddwyn dim gwir wybodaeth fylweddol; ond yn hytrach yn peri ymryfon ac ymddadleu; gan ddwyn y meddwl oddi wrth yfprydolrwydd crefydd, mewn hunan-dyb a gwag-ymffroft. 2 Tim. 2, 23.

ANRHAITH, yfbail a gymmerir trwy orthrech yn amfer rhyfel. Jof. 22, 1. 1 Sam. 14, 32. (2.) Barnedigaethau Duw ar y rhai drygionus, fydd fel *anrheithwyr*. Ezec. 7, 22. (3.) Gorthrech y rhai drygionus i boeni 'r cyfiawn. Salm 44, 10. Diar. 24, 15. (4.) Dwyn trugareddau tymhorol oddi ar ddynion. Ezec. 32, 12. Hof. 2, 12. Dynion tlodion a phechadurus, caethion ac anrhaith Satan, y rhai y mae efe wedi dechreu eu difa, y rhai y mae Crift yn eu gwaredu o'i feddiant ac hefyd o ddwylaw cyfiawnder, a'r gyfraith, pechod, a'r byd. Efay 49, 24, 25. a 53, 12.

ANNRHAETHADWY, yr hyn ni's gellir ei draethu, neu ei adrodd mewn geiriau, yn gyfattebol i'w fawredd a'i ragoriaeth. 2 Cor. 11, 15. 1 Pedr 1, 8.

ANRHEG, rhodd o ewyllys da. Bren. 4, 21. Brenhinoedd ac eraill yn dwyn anrhegion i Salomon (yr hwn oedd yn gyfgod o Grift) fydd yn dangos eu bod yn eu rhoddi eu hunain a'u pobl yn ewyllyfgar at ei wafanaeth ef. Salm 68, 29. Mat. 2, 11.

ANRHYDEDDU, y farn yr ydym yn ei rhoddi ar berffeithrwydd un arall, o'r lle cyfyd parch tufewnol ac allanol, mewn meddwl ac ymddygiad; yr hyn y mae gan Dduw hawl iddo yn y radd uchaf, ac y mae 'n ddyladwy i ddynion yn ol graddau eu perffeithrwydd, neu ein rhwymedigaethau ni iddynt, megis rhïeni, &c. Salm 29, 2. *Anrhydeddu* Duw, yw credu ynddo, caru, addoli, a'i wafanaethu ef, fel ein daioni pennaf, a'n llywodraethwr mawr; 1 Tim. 1, 17. neu broffefu 'n allanol wneuthur hynny. Mat. 15, 8.

ANSAWDD, trefn, ſefyllfa, cyflwr; corph, gwlad, neu ddinas. Num. 13, 17. Joſ. 6, 22. 2 Bren. 2, 19.

ANTIOCIA, [*mor gyflym â cherbyd*] prif ddinas Syria. Yr oedd hi 'n ſefyll ar ddeutu 'r afon Orentes, ynghylch deuddeng milldir oddi wrth Fôr y Canoldir, yn ddinas enwog iawn. Bu Paul a Barnabas ynddi 'n pregethu enyd: Yma y galwyd y dyſgyblion yn *Griſtianogion* gyntaf. Act. 11, 19,—27. a 14, 26. a'r 15. 35. Fe fu 'r eglwys yn flodeuog yma dros amryw flynyddoedd ac oeſoedd; yma y bu Iöan aur enau (Cryſoſtom) yn niwedd y bedwaredd ganrif yn pregethu 'n flodeuog ac yn llwyddianus iawn. Hi a ddyſtrywiwyd amryw weithiau, gan ddaeargrynfäau, a chan gleddyf. Y mae hi 'n awr yn meddiant y Twrc, heb fod fawr well na charnedd. (2.) Prif ddinas Piſida. Yma y cafodd Paul a Barnabas, gennad gan bennaeth y ſynagog i bregethu 'r efengyl, ac y buont lwyddianus dros dro; nes i'r Iuddewon gyfodi yn eu herbyn, fel y bu gorfod arnynt fyned ymaith. Act. 13, 14,—51.

ANTIPAS, [*yn erbyn pawb*] merthyr ffyddlon, Dat. 2, 13. a ddywedir ei fod yn un o ganlynwŷr cyntaf ein Iachawdwr, ac iddo ddyoddef merthyrdod yn Pergamus, lle 'r oedd efe 'n olygwr yr eglwys.

ANTIPATRIS, [*yn erbyn y tad*] dinas yng Nghanaan mewn dyffryndir hyfryd, yn agos i'r mynyddoedd ffordd yr eir o Jeruſalem i Ceſarea; ac ynghylch 17 neu 18 milltir o Joppa, 42 o Jeruſalem, a 26 o Ceſarea. Yma bu Paul a'r rhai oedd yn ei wylied, yn gorphwyſo ar eu ffordd i Ceſarea. Act. 23, 31.

ANUDON, cymmeryd llŵ, neu dyngu fod rhywbeth yn wir heb ei fod felly; neu haeru peth yn wir, heb brawf digonol o hynny. Lef. 19, 12. Mal. 3, 5. Mat. 5, 33.

ANUFUDD-DOD, gwrthryfelgarwch, cyndynrwydd yr ewyllys, anewyllyſgarwch i blygu i gyfreithiau Duw neu ddynion, Luc 1, 17. Act. 26, 19.

ANWASTAD, ſigledig, anſefydlog, anwadal; dyn bwhwmmanllyd heb ſefydlu ei feddwl am Dduw nac am ei gyflwr; y mae fel ton y môr heb allu bod yn llonydd, mor barod i gilio oddi wrth Dduw ag i neſu atto, nid yw 'n ſefydlog yn yr hyn y mae 'n ei broffeſu. Iago 1, 8, 2 Pedr 3, 16. Diar. 24, 21.

ANWEDDAIDD, anhardd, anghymmwys, annrhefnus. Rhuf. 1, 27, 28. 1 Cor. 14, 34.

ANWELEDIG, yr hyn ni welodd, ac nid yw llygaid yn ei weled

Rhuf. 1, 20. Duw sydd anweledig. 1 Tim, 1, 17. Heb. 11, 27. Col. 1, 15.

APELES, [*cau allan* neu *wahanu*] un y mae Paul yn son am dano, Rhuf. 16, 10. fel un *profedig y Nghrist*. Nid yw esponwŷr yn gyffredinol yn cyttuno am arwydd loccâd ei enw ef.

APHEC, [*nerth, gwrolder*] dinas yn llwyth Juda, lle gwersylliodd y Philistiaid pan gymmerwyd arch Duw yn y frwydr; 1 Sam. 4. meddylir mai 'r un yw hi ag *Apheca*. Jos. 15, 53. (2.) Dinas yngwastadedd Jesreel, lle tarawyd Saul. Sam. 29, 1. (3.) Un o lwyth Aser, yn agos i Sidon. Jos. 19, 30. a 13, 4. (4.) Dinas yn Syria, un o brif-ddinasoedd Benhadad, lle ciliodd y Syriaid yn ol mewn chwidr-frys, ac y lladdwyd 27,000 o'r gwŷr a adawsid, gan fur y ddinas yn syrthio arnynt. 1 Bren. 20, 26. Yr oedd hon yn sefyll rhwng Heiopolis a Biblos.

APHIA, [*llefaru* neu *chwythu*] mab Becorath. 1 Sam. 9, 1.

APHRA, [*llychfawr*] lle 'n agos i Jerusalem. Mic. 1, 10.

APHSES, pen y deunawfed teulu offeiriadol, allan o'r 24 a ddewisodd Dafydd at wasanaeth y deml. 1 Cron. 24, 15.

APOCRYPHA, llyfrau ag y mae amheuaeth am eu hawdurdod: nid ydynt yn cael eu derbyn yn ganonaidd fel ysgrythyr, naill ai nid ydynt yn cael eu cydnabod megis dwyfol, neu 'n cael eu gwrthod megis hereticaidd a gau. Nid oedd y llyfrau hyn yn adnabyddus gan yr eglwys Iuddewig, a 'sgrifenwŷr y pedair canrif cyntaf. Nid ydynt yn cael y gair o fod yn llyfrau dwyfol ysprydol, maent yn amddifad o'r enw da hwnnw; fe 'i rhannir hwynt yn foesol, ac yn hanesiol; tan rith rhinwedd a moesau da, ni gawn wyd, a choel grefydd yn cael eu canmol; a'r rhan fwyaf o'r ystorïau ydynt ddychymmygion a chwedlau gwneuthur, yn hytrach nag hanesion cywir.

APOLONIA, [*colledigaeth*] dinas yn Macedonia gêr llaw Amphipolis. 17, 1. A elwir yn awr Eriffo.

APOLOS, [*dynistrydd*] Iuddew o Alecsandria, yr hwn a ddaeth i Ephesus tra 'r oedd Paul wedi myned i Jerusalem. Act. 18, 24. Yr oedd efe 'n wr ymadroddus, cadarn yn yr ysgrythyrau, a chwedi iddo gael ei ddysgu 'n fanylach yn y ffydd Grist'nogol, efe a aeth i Acaia, a chwedi dyfod o hono i Gorinth, bu 'n ddefnyddiol iawn i argyoeddi 'r Iuddewon allan o'r ysgrythyrau mai Iesu oedd y Crist.

APOLYON, [*dynistrydd*] enw Groeg ar angel y pydew diwaelod. Dat. 9, 11. *Edr.* ABADON.

APOSTOL [*cenhadwr*] yn yr yſtyr Griſt'nogaidd o'r gair, y mae 'n arwyddoccâu un wedi ei anfon a'i awdurdodi gan Ieſu Griſt i bregethu 'r efengyl, i gario ei enw ac i ledanu ei achos ef yn y byd. Fe ddewiſodd ein Harglwydd ddeuddeg allan o nifer ei ddyſgyblion, i fod yn apoſtolion. Mat. 10, 2. Ni anfonwyd hwynt ar y cyntaf ond at yr Iuddewon yn unig. Ond yn eu hail anfoniad, y gorchymmyn oedd, "Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl," &c. Yna hwy a dderbyniaſant allu i wneuthur gwyrthiau, yr hyn oedd yn hollol angenrheidiol ar y cyntaf, i blannu Criſt'nogaeth yn y byd. Y'mhen ychydig ar ol iddynt dderbyn yr Yſpryd Glân mewn modd tra rhyfedd ar ddydd y Pentecoſt, fel y gwnaethpwyd hwynt yn hyſion ac yn gedyrn yn yr Arglwydd; hwy a ymranaſant wrth goel-bren, ac a aethant yn gyflym, i amryw barthau 'r byd, i ynill eneidiau i Griſt. Marc 3. (2.) Criſt *apoſtol* a deonglwr Ewyllys Duw i'w eglwys. Heb. 3, 1. (3.) Gau apoſtolion y rhai a redent heb eu hanfon gan yr Yſpryd Glân, ond myned allan er mwyn budr elw. 2 Cor. 11, 13. Dat. 2, 2. Rhifedi mawr o honynt a ymwthiaſant i'r eglwyſi er mawr flinder iddynt; yn enwedig yn Syria, Galatia, Corinth Coloſſa, &c. Act. 15. Gal. 1, 7,—9. 2 Cor. 10. Col. 2.

APOSTOLIAETH, ſwydd apoſtol, neu apoſtolion, y rhai oeddynt i bregethu 'r efengyl; plannu a chadarnhâu eglwyſi, bedyddio, gwneuthur gwyrthiau, ordeinio gweinidogion. Mat. 28, 12. a 10, 1. Act. 14, 23. 1 Cor. 3, 6.

APOTHECARI. cymmyſgydd cyffuriau meddygol, neu beraroglau. Ecſod. 30, 25, 35. Preg. 10, 1.

APPELIO, cyrchu at lŷs uwch, galw am farn arall. Act. 25, 11, 12, 21, 25.

APPI-FFORUM, lle yn yr Ital yngkylch 50 milldir o Rufain, a 18 oddi wrth y *Tair-Tafarn*. Hyd yma y daeth Criſt'nogion Rhufain i gyfarfod Paul yn ei ffordd o Puteoli yno. Act. 28, 15.

AR, [*yn gwylio*] neu ARIEL MOAB, neu RABBATH MOAB, Eſay 30, 1. Deut. 3, 11. Prif ddinas y Moabiaid, yn ſefyll ar yr afon Arnon, yr hon oedd yn ei rhannu hi 'n ddwy ran. Sehon brenin yr Amoriaid a'i lloſgodd hi â thân, Num. 21, 28. Brenin Aſſyria a'i dynyſtriodd hi mewn un noſwaith. Eſay 15, 1. Ynghylch B. A. 300. Llyngcwyd hi gan ddaear grynn. Fe ymddengys fod holl dir Moab yn Deut. 2, 9. yn cael ei alw AR, oddi wrth enw 'r Brif ddinas.

ARA, [*yn rhegu*, neu '*n gweled*] mab Jether. 1 Cron. 7, 38.

ARAB, [*cynllwynwr*] dinas o lwyth Juda. Joſ. 15, 52.

ARABA, dinas yn perthyn i lwyth Benjamin. Jos. 18, 18.

ARABIA, gwlad eang yn Asia a ddosperthir yn dair rhan, ARABIA DESERTA, neu *Arabia anial.* ARABIA PETREA, neu *Arabia garregog.* ARABIA FELIX, neu *Arabia ddedwydd.* *Arabia anial,* neu *ddiffaeth,* sydd yn sefyll rhwng Euphrates o du 'r dwyrain a'r gogledd, a mynyddoedd Gilead o du 'r Gorllewin; ac Arabia ddedwydd ar y deau. Yr oedd hi 'n cynnwys yr Itureaid, y rhan ddwyreiniol o Edom, a'r Nabotheaid, a phreswylwŷr Cedar, &c. y rhai a grwydrent o le i le, i geisio porfa a dwfr i'w hanifeiliaid, heb na thai, na dinasoedd, na thrigfannau. *Arabia ddedwydd,* sydd yn sefyll o du 'r deau i *Arabia ddiffaeth,* ac a wahaniaethir oddi wrthi gan fraich o fynydd; yn terfynu ar du 'r dwyrain gan gaingc o fôr Persia, ar du 'r deau, gan y môr mawr, ac ar du 'r gorllewin, gan y Môr Coch. Y mae helaethrwydd o aur ac arian yn y wlad hon, ac yn enwedig o lysiau peraroglaidd. Y bobl yn gyffredin oeddynt yn trigo mewn pebyll yn y maes. Yr oedd hon ynghŷd âg *Arabia Garregog* yn meddiant hiliogaeth Ismael. Y mae *Arabia Garregog* yn union ar y deau i Balestine, ac yn cynnwys yr Edomiaid deheuol, yr Amaleciaid, yr Ethiopiaid, &c. Yma 'r oedd Mynydd Sinai yn sefyll, lle rhoddwyd y gyfraith i Moses. Y bobl gyntaf a fu 'n gwladychu yma, oedd hiliogaeth Joctan. Gwlad eilun-addolgar iawn ydoedd hi gynt, felly mae hi 'r awrhon mewn mawr dywyllwch eilun-addoliaeth.

ARAD, [*asyn gwyllt*] dinas yn sefyll o du 'r dehau i Juda, a thir Canaan, yn Arabia Garregog. Yr oedd brenin *Arad* yn wrthwynebwr i Israel yn eu ffordd i Ganaan. Num. 21, 1. Israel wedi hynny a ddystrywiasant eu gwlad a'u dinasoedd. adn. 3.

ARADR, offeryn adnabyddus i aredig tir. Rhoi llaw ar yr *aradr* ac edrych yn ol, sy 'n arwyddo ymrwymo y'nghwaith Crist, yn enwedig y weinidogaeth, a chwedi hynny troi ymaith at ryw ystod fydol ddrygionus. Luc 9, 26.

ARALL, un heblaw 'r cyntaf, un drachefn. Gen. 30, 24. Caleb oedd âg yspryd *arall* ganddo, sef un rhagorach nag oedd gan yr yspïwŷr anghrediniol, i ymddiried yngallu ac addewid Duw. Num. 14, 24. *Saul a aeth yn ddyn arall, ac a gafodd galon arall,* hynny yw, fe dderbyniodd galondid, a hyfdra, awdurdod a chymmwysderau llywodraeth, yn helaethach nag yr oeddynt ganddo o'r blaen. 1 Sam. 10, 6, 9. Mae gau athrawiaeth yn cael ei galw yn efengyl *arall.* Gal. 1, 6, 7. Er nad oedd ynddi ddim cymmwysder i'r enw, o blegid nad ydoedd yn dwyn dim newyddion da i bechadur colledig.

ARAM, [*mawr-wychedd*] (1.) Pumed mab Sem. Gen. 10 22. (2.) Wyr Nacor tad y Syriaid, y rhai hefyd a elwid Aramiaid ar ol ei enw ef. (3.) Mab Esrom. Ruth 4, 19. Mat. 1, 4. Luc 3, 53. (4.) Mab Difan. Gen. 36, 28.

ARAFNA, [*llawen floedd, arch, rheg*] neu ORNAN. Jebufiad yr hwn yr oedd ei lawr dyrnu ef ar fynydd Sïon; lle wedi hynny yr adeiladwyd y deml. 2 Sam. 24, 16, 18. 1 Cron. 21, 18, &c.

ARARAT, [*melldith, dychryndod*] mynydd hynod yn Armenia, lle y dywedir fod arch Noa wedi gorphwys ar ol y diluw. Gen. 8, 4. Fe ddywed *Tavernier*, fod amryw fynachlogydd ar fynydd *Ararat*, ac fod yr Armeniaid yn ei alw ef Merefawfai, oblegid i'r arch fefyll yno. *Tournefort* a ddywed, na ellir agofhâu i ben mynydd *Ararat*, o herwydd ei uchder dirfawr, ac o herwydd yr eira fydd yn fefyll arno bob amfer. Mae 'n fefyll ddeuddeng milldir o du 'r dwyrain i Erifen, y'nghanol gwaftadedd mawr, heb un mynydd arall yn agos atto; a chyn uched ag y gwelir ef daith deng niwrnod oddi wrtho.

ARCH, dymuniad, deifyfiad. Lef. 25, 21. 2 Sam. 26, 11. Mat. 14, 28.

ARCH-ANGEL, tywyfog neu 'r prif angel. Nid yw 'n eglur fod yr enw hwn yn cael ei roddi i un angel crëedig. Mae 'n wir, y dywedir yn 1 Theff. 4, 16. y bydd i " Grift yr Arglwydd ddifgyn gyd â llef yr arch-angel;" ond nid yw hyn ddim yn arwyddo y bydd efe 'n cymmeryd llais un angel; pan ddel, fe a ddwg yr angylion fanctaidd gyd âg ef i gafglu ynghŷd ei etholedigion; a'i lais a feinia fel llais yr Arch-angel mawr, —udgorn Duw,—yn cyfeirio, fe allai, at y difgyniad ar fynydd Sinai, yn rhoddiad y gyfraith,—pan roddwyd y gyfraith ac yr udcanwyd hi trwy drefnid angylion.

ARCH Duw, neu Arch y cyfammod;—gogoniant Ifrael, pan oedd Jehofa 'n prefwylio rhwng y cerubiaid. Yr oedd hi 'n fefyll yn y fanctaidd fancteiddiolaf, neu 'r Cyffegr nefaf i mewn yn y babell, ac yn y deml. Cift fechan ydoedd, o goed Sittim, gwedi ei gwifgo âg aur; pedair troedfedd a hanner ei hyd; dwy droedfedd ac agos naw modfedd ei lled; a'i huchder yr un a'i lled. Ei chaead oedd o aur pur; ac a elwid y *drugareddfa*: uwch ben hon yr arofai 'r Secina, neu 'r arwydd o'r prefenoldeb dwyfol: ac allan o ddau ben y caead hwn, yr oedd dau gerub aur, gwedi eu gwneuthur o gyfanwaith morthwyl; y rhai, â'u hefgyll ar led, oeddynt yn gorchuddio holl wyneb y drugareddfa oddi arnodd, ac, â'u hwynebau, megis yn fyllu arni hi. O'i mewn hi yr oedd llechau 'r gyfraith; ac mewn rhyw gludfan wrth ei phen blaen yr oedd y crochan aur,

â'r manna ynddo, a gwïalen Aaron yr hon a flagurasai, a chopi o bum llyfr Moses. Yr oedd i'r arch hefyd bedair modrwy aur, trwy ba rai y dodid y trosolion o goed Sittim, â pha rai y dygid hi gan y Lefiaid, pan y byddai achos yn gofyn. Yr oedd y coffr neu 'r arch hon mor sanctaidd, fel yr oedd yn farwolaeth i neb edrych arni heblaw 'r offeiriad; am hynny y dygid hi tan orchudd. Ecsod. 25, 10, 22. a 37. 1, 9. Num. 4, 5, 6, 20. a 17, 10. Deut. 31, 26. 1 Bren. 8, 9. Heb. 9, 4. Pan ddinystriwyd y deml gyntaf gan y Caldeaid, ni's gwyddom pa beth a ddaeth o'r arch; ond sicr yw, ei bod hi a'i holl ddodrefn yn eisiau yn yr ail deml. Fe ddywedir, fod yr Iuddewon, ar ol y caethiwed, gwedi gwneuthur un lled debyg iddi, a chwedi rhoddi ynddi brawf-gopi pur o'r gyfraith.—Fe a elwid yr arch hon, *arch y dystiolaeth a'r cyfammod*, o blegid ei bod yn cynnwys llechau cyfraith Duw, a llyfr y cyfammod a wnaethpwyd âg Israel; ac yr oedd hi ei hunan yn wystl o barhâd y cyfammod â hwynt. Deut. 31, 25, 26. Fe 'i gelwid hi hefyd, *arch cadernid yr Arglwydd.* Yma 'r oedd arosfa 'r Secina, yr hwn oedd yr arwydd o'i hollalluog a'i ogoneddus bresennoldeb, a gwystl o'r amlygiad o'i gadarn allu. Salm 132, 8. a 78, 61.

Onid oedd yr arch Iuddewig yn cysgodi Crist Iesu 'r Arglwydd? Mor rhagorol a gogoneddus ei berson! Mor rhyfedd undeb ei ddwy natur! Cyfraith ei Dad oedd yn ei galon ef, ac a gafodd ei mawrhâu a'i gwneuthur yn anrhydeddus trwy ei ddwyfol a'i dragywyddol iawn; efe yw hyfrydol orphwysfa ei Dad; canol-bwynt mawr pob addoliad crefyddol; yr achos o'r ddau destament; rhyfeddod angylion, ac ysprydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd. Efe a gyssegrwyd i'w swydd mewn modd neillduol, trwy Yspryd y gras: fe fu tros hir amser ar y ddaear heb un drigfan sefydlog: ond gwedi gorphen ei waith yn y babell isod, fe gafodd fynediad helaeth a gogoneddus, i mewn i'r deml uchod; ni chyll efe byth mo'i le, ac ni newidia efe mo'i drigfan. Fe *welwyd arch cyfammod Duw yn ei deml;* mae arch ei gyfammod ef i'w gweled, pan y ceir golwg ffyddiog ac eglur ar Grist, dirgeledigaethau ei ras, a thrysorau ei Iachawdwriaeth. Dat. 11, 19.

ARCH NOA, y llestr mawr a ddarparodd Nöa i achub ei fywyd ei hunan a'i deulu; a chymmaint o greaduriaid ag a orchymmynwyd iddo gan Dduw, yn amser y diluw ar y ddaear. Fe gafodd Nöa 120 mlynedd i adeiladu 'r *arch;* ac i geisio rhybuddio a dysgu dynolryw am y dyben o honi. Ei dull oedd hir-gul bedair-onglog, gwaelod-wastad; a'i nen yn lethru y'nghylch cufydd o ganol y grib i'r ymyl. Nid oedd arni

hi na hwyl, na llyw, nac angor. Ei hyd oedd 300 cufydd, sef ychydig 'chwaneg nâ 182 o lathenau; ei lled oedd 50 cufydd, neu 81 o lathenau a dwy droedfedd; ei huchder oedd 30 cufydd, neu 54 o lathenau a hanner. Yr oedd hi 'n dri uchder llofftydd; a phob un o honynt, mae 'n ddïamau, gwedi eu rhannu yn amryw 'stafelloedd. Ni a gawn fod iddi ffenestr; a sicr yw ei bod yn gollwng goleuni ac awyr i mewn i'r amryw gelloedd. Gen. 8, 13.

Pan ddarfu blynyddoed hir amynedd Duw, Nôa ar ei wythfed a aeth i mewn i'r *arch*; a chyd âg ef, o'r creaduriaid glân, saith o bob rhyw, ac o'r rhai aflan, dau o bob rhyw; ac yna ffynnonau 'r dyfnder a rwygwyd, a ffenestri 'r nefoedd a agorwyd; y gwlaw oedd yn disgyn o'r nefoedd, a'r dyfroedd yn cynnyddu 'n ddirfawr ar y ddaear. Cyn pen hir, fe guddiwyd y bryniau, a'r mynyddoedd uchaf a wisgwyd â gwisg ddyfrog; a bu farw pob cnawd, dyn ac anifail, a phob ymlusgiad.

Yr oedd yma gysgod o Grist a'i eglwys; yr oedd Noa, adeiladydd yr *arch* yn gysgod o Grist adeiladydd ei eglwys; a'r arch yn gysgod o'r eglwys, mewn amryw ystyriaethau. 1 Pedr 3, 21.

ARCH-OFFEIRIAD, yr offeiriad pennaf. Yr oedd, weithiau, un o'r henuriaid yn cael eu hurddo dros amser i'r swydd, pan fyddai 'fe 'n glaf, neu 'n aflan, &c. Efe oedd y blaenor yn mhob achos crefyddol, a'r barnwr yn gyffredin yn mhob matterion a berthynai i ymarferiad a barnau y genedl Iuddewig. Efe oedd yn gwneuthur iawn tros yr holl offeiriadau eraill, ac yn myned i mewn i'r cyssegr i wneuthur cymmod tros yr holl gynnulleidfa fawr, ar yr ŵyl flynyddol. Ecs. 28. a 29, 6. Lef. 21, 10. ac 8, a 9. ac 16. Yr oedd efe 'n gysgod rhagorol o Iesu Grist, yr hwn, trwy ei offrymmu ei hun un waith ar y ddaear, a'i eiriolaeth feunyddiol a pharhâus yn y nefoedd, oedd i adferyd i, a chadw yn, ffafr Duw yr holl wir gredinwŷr. Heb. 7, 17.

ARCELAUS, [*tywysog y bobl*] mab Herod fawr o'i wraig Malthace; a gyhoeddwyd trwy ewyllys Herod, i lywodraethu 'r deyrnas yn ei le ef, ar yr ammod o byddai hynny wrth fodd Augustus. Augustus, p'odd bynnag a roddes iddo 'r titl, nid o fod yn frenin, ond yn Ethnarch, a dim ond un hanner o'r tirogaeth helaethfawr y buasai ei dad Herod yn ei fwynhâu. Fe lywodraethodd *Arcelaüs* wlad Judea trwy greulondeb, trais, ac anghyfiawnder mawr, ( creulonaf medd Josephus a esgynodd erioed i orsedd Judea) o ba herwydd fe 'i cyhuddwyd ef o flaen Augustus, yr hwn o'r achos, a'i hymlidiodd ef i Vienne, yn Gaul, lle y bu efe 'n alltud holl ddyddiau ei fywyd; nid yw 'n hollol hyspys pa flwyddyn y bu hyn.

Joseph ar ei ddychweliad o'r Aipht, gyd â'r plentyn bach Iesu, a Mair ei fam, wedi clywed mai *Arcelaüs* oedd yn teyrnasu ar Judea yn lle ei dad Herod, Mat. 2, 22. a ofnodd fyned yno, am hynny fe wnaeth ei drigfa yn Nazareth: fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy 'r prophwydi, Y gelwid ef, sef Iesu, yn Nazaread.

ARCIPPUS, [*rheolwr meirch*] pregethwr enwog yr efengyl yn Colossa. Fe orchymmynir i aelodau 'r eglwys ei gyffroi ef i ddiwydrwydd, gofal, a gwrolder, y'ngwaith y weinidogaeth. Col. 4, 17. Y mae Paul yn ei gyfarch ef trwy Philemon 2.

ARCHOLL, briw, anafiad i'r corph, trwy ddyrnod neu gwymp. 2 Bren. 8, 29. (2.) Cystuddiau mawrion. Esay 1, 6. Jer. 30, 12. (3.) Cerydd brawd ffyddlon. Dïar. 27, 6. Salm. 141, 5.

ARCHWAETHU, profi blas peth. 2 Sam. 19, 35. Job 12, 11.

ARCTURUS, [*cyd gynnulliad.*] Seren o'r maintioli mwyaf yn yr hannergylch gogleddol tua 'r pegwn. Job 9, 9.

ARDDODIAD, DWYLAW, neu osodiad dwylaw. Yr Iuddewon gynt a arferent wneuthur hynny, (1.) wrth gyssegru 'r aberth cyn ei ladd, gan gyffesu eu pechodau, a'u bod hwy 'n haeddu marw yn lle 'r anifail; a chan broffesu eu bod yn ymddiried yn y Messia, yr aberth mawr oedd i ddyfod i roi pen ar yr aberthau, ac i dynnu ymaith bechodau 'r byd. Lef. 4, 1. a 16, 21. (2.) *Arddodiad dwylaw* a arferid hefyd, wrth sefydlu dynion, a'u gosod mewn swyddau ac awdurdodau llywodraethol. Num. 27, 18. Deut. 34. 9. (3.) Hefyd wrth fendithio a gweddïo. Gen. 48, 14, 17, 20. (4.) Wrth ordeinio y Lefiaid i'w gwasanaeth. Num. 8, 10. Felly yr arferiad honno oedd yn cael ei chynnal gan Grist a'i apostolion, wrth weddïo, a chyfranu doniau ysprydol, a iachâu 'r cleifion. Luc 13, 16. Act. 19, 17. a 10, 44. Y drefn hon hefyd a arferid wrth ordeinio Gweinidogion a Henuriaid; ac weithiau ar ol bedyddio. Act. 6, 6. ac 8, 17. a'r 13, 3. 2 Tim. 1, 6. Yr oedd rhoddiad yr Yspryd Glân, llafaru â thafodau, ac amryw ddoniau arbenig, gynt, yn dilyn yr ordinhâd hon. Act. 2, 38.

ARDDWR, llafurwr y ddaear, holltwr cefn y maes yn garreiau; drylliwr wyneb y llawr. Amos 5, 16. *Yr arddwyr a arddasant ar fy nghefn*, Salm 129. 3. arddasant anwiredd, dychymygasant ddrygioni; fel y dywed Job yn y 4, 8, Y rhai a *arddant* anwiredd, ac a heuant ddrygioni, a'u medant. Yr oedd hyn yn ddïareb y'mhlith yr Hebreaid, *Na ardd ddrygioni ar ei gefn ef.* Mae Salomon yn y drydedd o'r Dïarebion yn arfer yr un ddïareb, pan y dywed yn adn. 29, " Na feddwl ddrwg

yn erbyn dy gymmydog." Yn yr Hebraeg fel hyn, "Na ardd ddrygioni ar dy gymmydog, neu ar gefn dy gymmydog." Mae llawer wedi codi 'n fore, i fyn'd i'r maes i aredig cefn Sïon Duw; llawer o ymgynghori a dychymmygu drwg yn erbyn yr Arglwydd ac yn erbyn ei Grist ef, gan ddywedyd, "Drylliwn eu rhwymau hwy, taflwn eu rheffynau oddi wrthym," Salm 2, 3. taflwn eu cyngor a'u cyfraith, gwrthwynebwn eu llywodraeth. Llawer sydd hyd heddyw, yn erbyn y wir deml, corph dirgeledig Iesu, a'u llef yn uchel, fel plant Babel gynt, gan ddywedyd, "Dynoethwch, dynoethwch hi hyd y sylfaen;" fel y gallont hwy arddu 'r sylfaen, diddymu eglwys Crist oddi ar y ddaear, trwy estyn eu cwysau 'n hirion ar ei chefn: Ond, "Yr Arglwydd sydd gyfiawn: efe a dorrodd raffau y rhai annuwiol." Salm 129, 4. Er iddynt ymosod yn brysur, â'u heiyrn llymion, i aredig anwiredd ar gefn y diniwaid; yr Arglwydd a dorrodd eu rhaffau hwynt; fe safodd yr aradr wedi torri 'r offer, fe dorrodd Duw y tresi, fe drodd yn eu hol mewn gwaradwydd y rhai a gasasant Sïon.

AREDÏG, llafurio 'r ddaear, cwyso 'r ddaear, i'r dyben iddi ddwyn ffrwyth. 1 Bren. 19, 19. (2.) Bod yn ddiwyd mewn galwedigaeth. Dïar. 20, 4. 1 Cor. 9, 10. (3.) Ymarfer â thwyll nes cael cospedigaeth am dano. Job 4, 8. Hos. 10, 13. Cyfeillion Samson *yn aredig â'i anner ef*, wrth gyfrinachu 'n dwyllodrus â'i wraig ef, i gael gwybod ei ddychymmyg. Barn. 14, 18. (4.) Ffangellau creulon, ac erlidiau câs a thwyllodrus. Salm 129, 3. *Sïon a erddir fel maes;* bygythiad o ddinystrio 'r deml ardderchog yn Jerusalem: yr hyn a ddywedir ei gyflawni gan Turanus Rufus, sef cael o sylfaeni 'r deml dynnu aradr trwyddynt. Jer. 26, 18. Mic. 3, 12.

ARELI, [*allor oleu,* neu *olwg ar Dduw*] seithfed mab Gad. Gen. 46, 16.

ARENNAU, rhannau dirgel mewn dyn ac anifail. Lef. 3, 4. Job 19, 27. Salm 139, 13. (2.) Serchiadau a thueddiadau 'r enaid, a'i feddyliau. Galarn. 3, 13. Dat. 2, 23. Mae Duw *y'mhell oddi wrth arennau* dynion, pan y maent heb wir wybodaeth o hono, ofn, a chariad, a dymuniad atto, a hyfrydwch ynddo, ac heb roddi gwir ufudd-dod iddo. Jer. 12, 2. Mae dynion yn cael eu *pigo yn eu harennau,* pan glwyfer eu henaid â meddyliau aflonydd, nwydau poenus, cenfigen, galar, digofaint. Salm 73, 21. Eu *harenau yn dysgu* dynion, pan ymwelo Duw â hwynt âg ymweliad neillduol ei Yspryd, gan roddi, a chyffrôi ynddynt, addysgiadau a golygiadau newyddion, a chyfeirio a threfnu eu meddyliau at Dduw a'i wasanaeth. Salm 16, 7.

ARFAETH, bwriad, amcan, rhagfeddwl am gyflawni rhyw weithred.

Jer. 51, 29, Rhuf. 1, 13. Wrth *Dduw yn arfaethu ynddo ei hun*, y mae i ni ddyall sefydliad ei gyngor mawr draw yn nhragywyddoldeb, ynddo, ac o hono ei hun, heb neb, na dim i'w gymhell, nac i gynnyg ei rwystro, am yr hyn a fyddai iddo ei ddatguddio mewn amser, mewn perthynas iddo ei hun, ac i'w greaduriaid. Eph. 1, 9. *Edr.* ETHOLEDIGAETH.

ARFAU, (1.) offerynau i wneuthur gwaith â hwynt. Esay 54, 16. Maent yn amrywiol, yn ol y gwaith, a'r celfyddydau yr arferir hwy ynddynt. (2.) *Arfau* rhyfel. Yr oedd amryw fath o honynt; rhai i niweidio, a rhai i amddiffyn, mewn arferiad gynt, gan yr Hebreaid a phobloedd eraill. Yr *arfau niweidiol* oedd ganddynt i ymosod ar eu gelynion, oeddynt gleddyfau, saethu, piccellau, gwayw-ffyn, ffyn tafl, &c. Eu *harfau ymddiffynol*, y rhai a arferent i'w hamddiffyn eu hunain, oeddynt helmau, tarianau, bwcledau, llurigau, dur-beisiau, &c.

Y mae 'r ysgrythyr yn son am amryw fath o *arfau* yn arfogaeth Duw. Y mae hyn yn cael ei ddywedyd, (1.) Yn mherthynas i Dduw, am ei fod yn rhyfelwr, Arglwydd y Lluoedd yw ei enw; Iesu Grist yw Cadpen mawr iechydwriaeth; tywysog llu 'r Arglwydd; ac, fel y dywedir am Ddafydd, y mae efe 'n ymladd rhyfeloedd ei Frenin a'i Dduw; mae byddinoedd y nefoedd yn ei ganlyn ef; a'i arfogaeth ydyw cleddyf llym daufiniog. (2.) Y mae efe 'n arfogi ei bobl, ei holl filwŷr, y rhai y mae efe 'n alw i ymdrech y'mhlaid y ffydd; "Gwisgwch am danoch," medd Paul, "holl arfogaeth Duw; sef *tarian y ffydd*, neu hyder yn y gwirionedd am Iesu Grist, yr hyn yn unig a ddichon ddiogelu ein calonnau rhag piccellau tanllyd y fall; a *helm*, hynny yw, *gobaith iechydwriaeth; dwyfronneg cyfiawnder*, sef cyfiawnder dwyfol Mab Duw: hefyd *gwregys gwirionedd* yn cryfhâu lwynau 'r meddwl; fel y mae *esgidiau parottöad efengyl tangnefedd*, yn cadw 'r traed, yn nerthu 'r dyn i redeg yn llwybrau gorchymmynion Duw, ac yn ei gymmwyso i redeg ffordd y groes, a llwybr dyoddefaint er mwyn, ac yn achos, Iesu Grist. Dyna y rhan ddiffynol o'r arfogaeth hon: yr unig ran ymosodiadol yw *cleddyf* yr yspryd, yr hwn yw gair Duw. *Arfau* cymmwys i orchfygu byd, cnawd, a Satan, a'n cadw ninnau yn wyneb eu holl ymgyrch. Eph. 6, 13, 20. Yn 2 Cor. 6, 7. y gelwir hwy 'n ARFAU *cyfiawnder ar ddëau ac ar asswy*, i ddangos eu bod yn ddigonol, i gadw ac amddiffyn yn mhob sefyllfa, a phob amgylchiad, mewn bywyd neu angau. Gelwir hwy 'n *arfau 'r goleuni* yn Rhuf. 13, 12. o herwydd mai trwyddynt y gellir gwrthsefyll gallu 'r tywyllwch, ac hefyd am eu bod yn dyfod oddiwrth dad y goleuni, ac yn cael eu rhoddi 'n rhad i blant y goleuni i'w meddiannu; ac

wrth eu harfer hwy 'n iawn y chwanegir ein goleuni, a'n gwybodaeth ysprydol, ac y daliwn ein ffordd nes dyfod o'r diwedd i oleuni tragywyddol. Yr *arfau* hyn nid ydynt gnawdol ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr, &c. 2 Cor. 10, 4. Ond y dyn sydd heb adnabod Duw a'i arfogaeth, yn ffoi oddi wrth un gorthrymder i gyfarfod un gwaeth; "Y mae 'n ffoi oddi wrth *arfau* haiarn; a'r bwa dur a'i trywana ef." Job 20, 24.

AREOPAGUS, [*bryn Mars*] uchel lŷs Athen, rhagorol am farn gywir mewn matterion. Paul (am iddo bregethu Crist, a phregethu yn erbyn eu duwiau lliosog hwy, y rhai yr oeddynt yn eu mawrhâu) a ddygpwyd ger bron yr *Areopagiaid*, fel trosedd wr, ac un a fai 'n gosod i fynu ryw grefydd newydd. Fe ymresymodd ar yr achos hwn gyd â'r fath bwyll a doethineb nefol, fel yr argyhoeddwyd, ac y dychwelyd, Dionysius un o'i farnwŷr; ac efe a ollyngwyd yn rhydd heb ddim mwy o drafferth. Act. 17, 19, 34.

ARFFEDOG, gwisg yr arffed; arffedogau, gwisgoedd a wnaeth ein rhieni cyntaf i guddio eu noethni. Gen. 3, 7.

ARGLWYDD, (1.) Un o berchen awdurdod a rheolaeth, megis gwr prïod. Gen. 18, 12. meistr, Iöan 15, 15. prophwyd, 1 Bren. 18, 7. rhaglaw, Act. 25, 26. (2.) Lle mae 'r gair ARGLWYDD yn yr Hen Destament wedi ei argraffu â llythyrennau pennigol, cyfieithad ydyw o'r gair JEHOFA. Pan mewn llythyrennau cyffredin, cyfieithad ydyw o'r gair *Adon* yr hyn sydd yn arwyddoccâu rheolwr, cynnaliwr, llywydd. Duw, Tad, Mab, ac Yspryd Glân, sy 'n fynych yn cael ei alw ARGLWYDD, i arwyddo ei hunan-ddibyniad, a'i Fôd ynddo ac o hono ei hun, yn rhoddi bôd i, yn cynnal, ac yn llywodraethu pob creadur. Salm 110, 1. 2 Thess 3, 5. Col. 3. 24. Fe 'i gelwir ef *Arglwydd y Lluoedd*, neu Arglwydd y Sabaoth; canys efe a wnaeth, a bïau, sy 'n cynnal, ac yn llywodraethu holl lluoedd yr angylion, dynion, a'r holl aneirif luoedd o bob creaduriaid eraill. Salm 24, 10. Iago 5, 4. Pan y mae *Arglwydd*, yn y Testament Newydd, yn gyfieithad o'r gair *kurios* mae 'n fynych iawn yn meddwl Crist, Dat. 14, 13. ond *Arglwydd*, cyfieithad o'r gair a arwydda *arch-deyrn* neu feistr, fe allai nad ydyw yn cael ei briodoli i Grist, ond i Dduw yn hanfodol. Gwel Act. 4, 24. Luc 2, 29. Judas 4. Dat. 4, 10. 2 Pedr 2, 1. Y mae Iesu Grist yn cael ei alw *Arglwydd yr Arglwyddi*, efe sy 'n cynnal, ac yn llywodraethu, brenhinoedd a phenaethiaid, a phawb sydd mewn awdurdod, ïe a phob peth yn y nef a'r ddaear. Dat. 19, 16. Act. 10, 36. Efe yw *Arglwydd y gogoniant*; y mae efe 'n meddiannu go-

goniant annherfynol ynddo ei hunan; efe a ennillodd trwy ei fywyd pur, a'i angau poenus, ogoniant tragywyddol; ac y mae efe yn ei roddi yn rhad i'w holl etholedig hâd. 1 Cor. 2, 8. Efe yw *Arglwydd* yr eglwys, yn enwedig y faint, ei gwir aelodau hi; efe a dynnodd y portreiad, ac fydd yn adeiladu ei eglwys; efe yw trefnwr, a gofodwr pob gwir ordinhâd ynddi: Y mae 'n fefyll mewn perthynas neillduol â phob gwir aelod o honi, fel ei brïod, ei ben-athraw, a'i lywydd mawr; efe yw prïod yfprydol, cyfarwyddwr, a llywydd, a ffynnon tragywyddol ddedwyddwch y faint. Rhuf. 5, 1. Dywedyd wrth Grift Iefu, *Arglwydd, Arglwydd*, yw gwneuthur proffes gyffredinol o ymoftyngiad iddo. Math. 7, 21. Galw Crift yn *Arglwydd* mewn modd dyladwy, yw credu o'r galon ynddo, ymoftwng mewn ufudd-dod iddo, a dwyn tyftiolaeth am dano fel unig Fab Duw, a'r gwir Feffia; yr hyn ni all neb ei wneuthur ond trwy 'r Yfpryd Glân. 1 Cor. 12, 3.

ARGOEL, arwydd, arddangofiad, peth a ellir ei goelio. 1 Sam. 10, 7. 1 Bren. 13, 5. 2 Theff. 1, 5.

ARGYHOEDDI, (1.) Dodi peth ar gyhoedd, yn oleu, eglur, ddeallus; perfwadio un am wirionedd peth. Act. 18, 22. 1 Cor. 14, 24. (2.) Profi un yn euog, a'i hollol berfwadio ef am wirionedd a natur ei feiau. Iago 2, 9. Job 32, 12. Yr Yfpryd yn *argyhoeddi* dynion o bechod, pan y byddo efe 'n dwyn gorchymmynion a bygythion y gyfraith at eu cydwybodau, yn y fath fodd bywiog, goleu, eglur, nes y byddont yn cael golwg trwyadl ar wir natur, mawrder, ac echryfrwydd canlyniad eu pechodau. Mae 'n arwydd fod argyoeddiadau yn drwyadl ac yn gadwedigol, pan fyddont yn bennaf yn cyrraedd anghrediniaeth, a llygredigaeth natur, a'i dirfawr ddirywiad: ac hefyd amlygiad effeithiol o Grift drylliedig, yn Waredwr cyflawn yn cael ei ddwyn i'r enaid. Ioan 16, 8, 9. Rhuf. 7, 9, 14. Zech. 7, 10.

ARIAN, mettel a dynnir oddi wrth blwm, alcam, &c. Nid ydym yn darllen ei fod mewn arferiad cyn y diluw. Y mae Mofes yn fôn am haiarn a phrês; ond nid yw efe 'n fôn dim am *arian:* ond yn amfer Abraham yr oedd marfiandiaeth o arian yn dechreu cael ei chario y'mlaen, er nad ydoedd dim bathu arian am hir amfer wedi hynny. Gen. 13, 2. Mae llawer o anmhuredd ynddo ar y cyntaf; ac y mae 'n rhaid puro llawer arno trwy dân, cyn y byddo 'n goethedig. Salm 12, 6. Y mae 'n cael ei roi am bob golud tymhorol. Hof. 9, 6, Fel arwydd-lun, mae 'n dangos pa beth fydd ddefnyddiol, gwerthfawr, pur, a gogoneddus. Llywodraethwŷr gwladol ac eglwyfig a gyffelybir i *arian*, i ddangos mor

werthfawr a defnyddiol y dylent hwy fod. Eſay 1, 22, 23. Y ſaint a gyffelybir i *arian coethedig*, i ddangos eu rhagoriaeth a'u gwerth; a'u bod wedi eu profi yn nhân amryw brofedigaethau. Zec. 13, 9. Mal. 3, 3. Doethineb a'i marſiandiaeth, h. y. Criſt a'i raſuſau, ſydd lawer purach, gwerthfawroccach, hawddgarach, a mwy defnyddiol nag *arian*. Job 28, 15. Dïar. 16, 16. a'r 8, 10, 19. a'r 3, 14. Yr Iuddewon gwrthnyſig oeddynt fel *arian gwrthodedig*, heb allu dal i'w profi. Jer. 6, 30. Tafod y cyfiawn ſydd fel *arian detholedig;* eu hymadrodd ſydd bur, defnyddiol, ac adeiladol. Dïar. 10, 20. Pobl Dduw a gyffelybir i *ddarn o arian wedi ei golli*, a chwilir am dano ganddo ef yn nydd ei nerth. Luc 15, 8. Bendithion yr efengyl a gras Criſt, ydynt i'w cael *heb arian ac heb werth, yn rhad*, yn rhodd, ac am ddim. Eſay 55, 1.

ARIEL, [*llew Duw*] Jeruſalem a elwir felly, o herwydd ei galluoedd rhyfel; neu fe allai fod *Ariel* yn arwyddo 'r deml ac allor y poeth offrwm. *Gwae Ariel* pan ddinyſtrid y ddinas a'r deml gan y Caldeaid a'r Rhufeiniaid. Duw yn cyfyngu ar *Ariel*, pan wnaed y ddinas a'r deml yn goch o waed y lladdedigion, fel allor y poeth offrwm gan waed yr anifeiliaid. Eſay 29, 1, 2.

ARIMATHEA, [*llew marw i'r Arglwydd*] dinas yn Judea lle 'r oedd Joſeph y cynghorwr criſt'nogol yn byw. Luc 23, 50. Yr oedd hi yn ſefyll, medd Jerome, rhwng Lyda a Joppa, y'nghylch 36 neu 37 o filltiroedd yn y gorllewin o Jeruſalem, lle mae 'r ddinas Ramola yn awr yn ſefyll.

ARIOC, [*eich llew*] brenin Elaſar. Gen. 14, 1. (2.) Tywyſog milwŷr Nebuchodonoſor. Dan. 2, 14.

ARISTARCUS, [*tywyſog da*] prïodor o Theſalonica. Criſtion gwreſog y mae Paul yn ſon am dano, Col. 4, 10. a Philem. 24. yr hwn a ddaeth gyd âg ef i Epheſus; lle bu agos iddo golli ei fywyd, yn y terſyſg mawr a godwyd gan Demetrius, y gôf arian. Fe ganlynodd Paul i Gröeg, Aſia, ac o Jeruſalem i Rufain, lle dywedir i Paul ac yntef gael torri eu pennau, ill dau y'nghŷd. Act. 19, 29. a'r 20, 4. a'r 27, 2, 10.

ARISTOBULUS, [*cyngorwr da*] tybir ei fod yn frawd i Barnabas ac yn un o'r 70 o ddyſgyblion ein Iachawdwr; ond nid oes dim ſicrwydd. Rhuf. 16, 10.

ARMAGEDON, gair Hebraeg ydyw, ag y mae awdwŷr yn methu hollol gyttuno am ei ddeongliad Rhai a'u mynnant yn un peth; eraill yn beth arall; megis *Bryn y ffrwythau; Bryn yr efengyl; Mynydd y ffrwyth da; Curo balchder i lawr, &c.* Mr. *Brown* a ddywed mai ei ddeongliad

llythyrenol ydyw, *Byddinoedd y cyfrwys.* Enw a roddir i'r lle y diſtrywir lluoedd y Pab, a Mahomet, tan dywalltiad y ſeithfed phïol. Y mae 'r enw 'n cyfeirio at Megido dinas wrth droed Mynydd Carmel, lle y darfu i Barac, â deng mil o wŷr, daro byddinoedd cryſion y Canaaneaid, a'u lladd hwy braidd i gyd, ac a ellir ei ddeongli *diſtryw 'r byddinoedd.* Pa un ai yn yr Ital, ai yn Judea, y bydd hyn, neu ynte yn y ddau le yng-hylch yr un amſer, ni's meiddiwn yn bendant benderfynu. Dat. 16, 16, 17.

ARNON, [*llammu o lawenydd*] afon ſydd yn codi yn mynyddoedd Gilead, ac yn rhedeg i'r Môr Marw. Barn. 11, 18. Eſay 16, 2. Num. 21, 13.

AROER, [*noethlymyn, mynydd-dir*] dinas yn llwyth Gad. Deut. 2, 36. yn ſefyll o du 'r gogledd i Arnon. Fe ymddengys fod amryw ddinaſoedd o'r enw yn Paleſtina. Gwel Joſ. 13, 25. Barn. 11, 33. 1 Sam. 30, 28.

AROGL, ſawr, arogledd. Yr aberthau gynt oeddynt yn *arogl-peraidd,* neu 'n *arogl o orphwysfa, i Dduw:* yr oedd efe 'n eu derbyn, ac yn ymhyfrydu ynddynt, megis yn gyſgodol o ufudd-dod a dyoddefaint Criſt; yr hwn y'nghyflawnder yr amſer, a ddaeth i ddeddfle ei bobl; ac a dalodd eu dyled trwy ei offrymmu ei hun un waith yn aberth difai i Dduw o arogl peraidd, er anrhydedd i holl berffeithrwydd y Duwdod, boddlonrwydd i holl ofynion cyfraith bur, mawl ei ras, a iachawdwriaeth ei holl brynedigion. Gen. 8, 21. Ecſ. 29, 18. Eph. 5, 2. *Arogledd gwybodaeth,* ac arogl ennaint *daionus* Criſt, ydyw hyfryd ac adfywiol nattur ei wirionedd, pan yr adnabyddir ef yn iawn; y'nghŷd â'r gras a'r rhinwedd ſydd yn deilliaw oddi wrtho ef fel Cyfryngwr. 2 Cor. 2, 14. Can. 1, 3. Salm 45, 8. Y mae gweinidogion yr efengyl yn ber-arogl Criſt i Dduw, yn eu gwrandawŷr: y cyflawniad difrifol a ſyml o'u ſwydd ogoneddus o bregethu Criſt croeſhoeliedig, ſydd gymmeradwy gan Dduw pa un bynnyg ai bod dynion yn gadwedig trwy eu gweinidogaeth ai peidio;—ac y maent yn *arogl marwolaeth i farwolaeth* i rai, ac yn *arogl bywyd i fywyd i eraill;* y maent yn achos dinyſtr deublyg i anghredinwŷr, ac yn foddion o dragywyddol fywyd ac iechydwriaeth i eraill. 2 Cor. 2, 15, 16.

AROGL-DARTH, per-arogl gwerthfawr, a arferid dan y gyfraith y'mhlith yr offrymau, wedi ei wneuthur o amryw bêr-lyſiau, yn ol cyfarwyddiad yr Arglwydd. Ecſ. 37, 29. Nid oedd neb ond yr offeiriad i loſgi hwn; na neb, dan boen marwolaeth, i wneuthur ei gyffelyb iddo ei hun. Yr oedd yr *arogl-darth* hwn i'w loſgi ar yr allor aur, fore a hwyr. Ar ddydd y cymmod y lloſgid llonaid dwylaw o hono o flaen yr

arch, yn y cyssegr sancteiddiolaf, fel y byddai i'r mwg guddio 'r drugareddfa, rhag bod sylldremmu i'r arch yn farwolaeth i'r offeiriad. Yr oedd hyn yn gysgod o gadarn, effeithiol, a pharhâus eiriolaeth Crist o'r tu fewn i'r llen, ar sail ei gysiawnder ei hun; trwy 'r hwn y mae ein holl wasanaeth ysprydol ni yn gymmeradwy gan Dduw. Ecs. 30, 34,—38. Lef. 16, 12,—14. Gweddïau a mawl cymmeradwy gan Dduw, a elwir yn arogl-darth ac offrwm. Mal. 1, 11. Salm 14, 1, 2.

AROS, trigo, gwasanaethu. Gen. 29, 19. (2.) Dysgwyl am. Act. 20, 23. *Aros* yn Nghrist, a'i gariad, yw byw trwy ffydd ar Grist, cael ymgeledd enaid trwy gymdeithas âg ef yn yr Yspryd Glân, ac ymhelaethu mewn cariad a gweithredoedd da. Iöan 15, 6, 10.

ARPAD, [*goleuni iechydwriaeth*] dinas yn Syria, yr hon a ddyfethwyd am eilun-addoliaeth, 2 Bren. 18, 34 Esay 10, 9.

ARAPHACSAD, [*un yn meddyginiaethu*] mab Sem, a thad Sela. Gen. 11, 12. a anwyd yn mhen dwy flynedd ar ol y diluw.

ARSWYD, ofn, synnedigaeth, cryndod, petrusder. Gen. 9, 2. Deut. 11, 25. Salm. 89, 7.

ARTACSERCSES, [*rhyfelwr cadarn*] brenin Persia. Ezra 4. 7. a 6, 14. Mae rhai yn meddwl fod hwn yn enw cyffredin, tros rai oesoedd, i frenhinoedd Persia.

ARTEMAS, [*difai, dianaf*] dysgybl Paul, sy 'n cael ei anfon ganddo i Crete, yn lle Titus. Tit. 3. 12. Nid oes dim neillduol mewn gwybyddiaeth am fywyd na marwolaeth y gwr sanctaidd hwn.

ARTH, creadur pedwar-troediog, gwyllt, creulon, ysglyfaethus. Gwylltfil mawr anolygus ydyw; mewn rhai mannau cymmaint a gwaed-gi mawr, ac mewn lleoedd eraill cymmaint â dynewed. Mae hi gwedi ei gorchuddio â hir-flew cedenog, fel y mae yn ymddangos yn glamp afluniaidd.—Y mae eirth, neu arthod, o amryw liwiau, rhai 'n felyn-goch, rhai 'n wynion; ond gan mwyaf yn dduon. Maent yn llochesu mewn anialwch yn y gauaf, gan gysgu y rhan fwyaf o'r amser; ac felly yn pesgi. Y mae 'r arthes yn anwyl iawn o'i chenawon, ac yn greulon erchyll wrth bob creadur a geisio niweid iddynt. Dïar. 17, 12. Hos. 13, 8. Arthod yn gyffredin a ymborthant ar ffrwythydd, mêl gwenyn, a chig; ac ydynt yn dra ysglyfaethus, ffyrnig a chyfrwys ac yn fedrus iawn ar ddringo coedydd: Mewn gweledydd coediog y maent yn fynychaf i'w cael: Yr oeddynt yn gyffredin yn Palestina. Fe fu Dafydd yn ymladd âg un o honynt, pan oedd efe 'n cadw defaid ei dad. Dwy arth a ddrylliasant ddau a deugain o blant Bethel, y rhai oedd yn gwatwar Eliseus y pro-

phwyd. 1 Sam. 17, 34. 2 Bren. 23, 24. Y mae Duw yn ei gyffelybu ei hun i *arth wedi colli ei chenawon*, pan ddelo i dywallt ei farnedigaethau yn erbyn ei elynion. Hos. 13, 8. Galarn. 3, 10. Dynion digllon, a gyffelybir i *eirth wedi colli eu cenawon*. 2 Sam. 17, 8. Dïar. 17, 12. Dynion drygionus, yn bennaf llywodraethwŷr gormesol, a gyffelybir i *eirth*, o herwydd eu gormes, eu trais, a'u creulondeb dïalgar. Dïar. 28, 15. Esay 11, 7. Gofid a galar trwm iawn a gyffelybir i *ruad eirth*. Esay 59, 11. Unbennaeth y Persiaid a ddarlunir fel *arth yn ymgodi*, &c. Dan. 7, 5. Dywedir fod i Anghrist *draed fel traed arth:* Mae efe, a'i oruchwylwŷr, yn fedrus iawn at ddringo gorsedd-feingciau, ac uchelder swyddau gwladol ac eglwysig, ac ysglyfio 'r praidd gwirion. Dat 13, 2. Buan y delo 'r amser i ben, i hiliogaeth Dafydd, y bugail da, ddyfod i waredu ei ŵyn o'i grafangau melldigedig.

ARWAIN, (1.) cyfarwyddo. Salm. 31, 3. (2.) Llywodraethu 'n ymgeleddgar. Salm 80, 1. (3.) Twyllo; tynnu i gyfeiliornad a drygioni. 2 Tim. 3, 6. Duw a *arweiniodd* Israel yn yr anialwch ddeugain mlynedd, trwy yr arwydd hwnnw o'i bresennoldeb, y golofn a'r cwmmwl. Salm 136, 16. Esay 63, 12. ac sydd yn *arwain* ei bobl yn mhob oes trwy gyfarwyddyd, a dylanwadau tynol, ei air ei ysbryd a'i raglunjaethau. Salm 43, 3. Mae Iesu 'n *arweinydd* trwy ei air awdurdodol, ei Ysbryd sanctaidd, a'i rodiad glân yn y byd: efe a adawodd i ni siampl fel y canlynem ei ol ef. Esay 55, 4. Y mae 'r Ysbryd Glân yn *arwain* dynion, trwy gymhwyso 'r gair at eu calonnau, yn ei effeithiau bendigedig; mae 'n eu cyfarwyddo a'u tywys i rodio 'n uniawn yn llwybrau cyfiawnder a sancteiddrwydd. Rhuf. 8, 14. Gal. 5, 18. Y mae gweinidogion y gair yn *arwain* â'u hathrawiaeth ac â'u siamplau da: a swyddogion gwladol yn *arwain* wrth eu cyfreithiau, a'u siamplau yn eu hymarweddiad. Esay 9, 16.

ARWYDD, rhyw beth amlwg, trwy ba un yr eglurheir, neu y nodir peth arall allan. neill ai a fu, sy, neu a ddaw; ac felly 'n fuddiol i adgoffa pethau a aethant heibio, i egluro pethau mewn amheuaeth, ac i sicrhâu pethau i ddyfod. Math. 16, 4. Gwaed oen y pasg ar gappan y drws, &c. oedd yn *arwydd* fod Duw am gadw 'n fyw y teulu hynny, Ecs. 12, 3. Mae Iesu Grist, a'i bobl, yn arwyddion ac yn rhyfeddodau: O! y fath syll-dremu sydd arnynt, y fath ddywedyd sydd yn eu herbyn, a'u peryglu! Luc 2, 34. Esay 8, 18. Ac O! fel y mae Iesu yn cael ei osod allan yn yr efengyl, fel y gallo dynion ddyfod atto! Esay 66, 19. a'r 11, 10. *Arwyddion* dyfodiad Crist yn erbyn yr Iuddewon, oedd taeniad

yr efengyl, erledigaeth Crift'nogion, cyfodiad gau brophwydi, amryw ryfeddodau yn yr awyr, ac o amgylch y deml, &c. Math. 24, 3,—29. Ond *arwydd Mab y dyn*, yn ymddangos gwedi hynny yn y nef, oedd dangofiad amlwg mai efe oedd y Meffia, trwy gofpi 'r genedl Iuddewig, am ei wrthod ef; neu 'r pethau ofnadwy fydd i'w gweled o flaen ei ddyfodiad efar y cwmmwl i farnu 'r byd. Math. 24, 3. *Arwyddion ffordd*, oeddynt golofnau neu garneddau y rhai y parodd Duw eu gwneuthur, i ddangos i'r Iuddewon fod gobaith iddynt am ddychweliad yn ol o gaethiwed Babilon; ac fel y gallent hwy, a'r plant a enid iddynt yno, adnabod y ffordd tua Jerufalem. Jer. 31, 21.

ASA, [*meddyg*, neu *feddyginiaeth*] mab Abïam brenin Juda, a ddaeth i'r orfedd ar ei ol ef O. y B. 3049; yn nechreuad ei deyrnafiad, fe ymddygodd yn ddoeth ac yn dduwiol, trwy dorri 'r delwau, tynnu i lawr yr allorau, yn holl ddinafoedd Juda. Ond nid yw y rhan olaf o'i fywyd yn arogli yn gwbl mor beraidd. Fe fu farw o'r gymalwft neu 'r droedwft, O. y B. 3090, yn yr unfed flwyddyn a deugain o'i deyrnafiad. A Jehofaphat ei fab a deyrnafodd yn ei le ef. 1 Bren. 15. 2 Cron. 14, a 15, a'r 16.

ASAHEL, [*creadur Duw*] brawd Joab un o gedyrn Dafydd, yr hwn a laddwyd gan Abner yn mrwydr Gibeon. 2 Sam. 2, 18, 19. Lefiad yn 2 Cron. 31, 13.

ASAHIA, [*creadur yr Arglwydd*] un o weifion y brenin Josïa, yr hwn a anfonwyd ganddo i ymgynghori â'r brophwydes Hulda, y'nghylch llyfr y gyfraith, yr hwn a gawfid yn y deml. 2 Cron. 34, 20.

ASAPH, [*cynnullydd pobl y'nghŷd*] mab Beracïa, 1 Cron. 6, 39. o lwyth Lefi, cantor enwog yn amfer Dafydd. Y mae amryw o'r Salmau wedi eu cyflwyno iddo ef, dull cyfanfoddiad pa rai fydd uchel-wych a derchafedig. Mae rhai Salmau â'i enw ef yn yfgrifennedig o'u blaen hwynt, na's gallant fod o'i gyfanfoddiad ef, o blegid eu bod yn perthyn i gaethiwed Babilon, &c. Fe allai nad oes ini ddeall dim mwy wrth y titl, nâ bod y Salmau hynny i'w canu, yn bennaf, gan ei hiliogaeth ef. (2.) Afaph tad Joa, cofiadur y brenin Hezecïa. 2 Bren. 18, 18.

ASCELON, [*tân gwarthufrwydd*] un o ddinafoedd y Philiftiaid, yn fefyll ar Fôr y Canoldir, rhwng Afdod a Gaza. Fe 'i cymmerwyd hi gan lwyth Juda ar ol marwolaeth Jofua. Barn. 1, 18.

ASDOD, [*tueddiad*, neu *lladratta gwlad*] dinas yr oedd teml Dagon ynddi; yr oedd hi wedi ei rhoddi gan Jofua i lwyth Juda. Jof. 15, 47. Y mae hi 'n taro ar Fôr y Canoldir, y'nghylch deng milldir yn y gogl-

edd i Gaza. Yr un yw hi ag AZOTUS, lle bu Philip yn pregethu 'r efengyl. Seph. 2, 4. Zec. 9, 6. Act. 8, 4.

ASEN, afgwrn yr yftlys, yrhwn fydd blaid a diogelwch i'r ymyfgaroedd. 2 Sam, 4, 6. Efa a luniwyd o *afen* Adda, yr hon a gymmerodd yr Arglwydd o'i yftlys ef. Ni chymmerth yr Arglwydd wraig o'r pen, rhag iddi ymawdurdodi; nac o'r traed, rhag iddi gael ei chyfrif fel caethes; ond o le ger llaw 'r galon, i garu, a chael ei charu. Gen. 2, 21.

ASER, [*gwynfyd, dedwyddwch*] mab Jacob o Zilpa, llaw-forwyn Lea. Gen. 30, 13. Tad un olwythau Ifrael. Daeth un mil a deugain a phum cant o'r llwyth yma i fynu o wlad yr Aipht. Hwy a gynnyddafant yn yr anialwch hyd, 53, 400. Num. 26, 47. Yr oedd 40,000 o honynt yn rhyfelwŷr glewion pan goronwyd Dafydd yn frenin. 1 Cron. 12, 36. Yr oedd etifeddiaeth llwyth *Afer* yn fefyll mewn gwlad ffrwythlon iawn. Deut. 33, 24.

ASGWRN, (1.) Caled-ran corph creadur, yr hwn fydd yn cynnal dull ac anfawdd yr holl adeilad. Job 10, 11. (2.) Corph marw. 1 Bren. 13, 31. 2 Bren. 13, 21. (3.) Yr holl ddyn. Salm 35, 10.——Enaid trallodedig a gyffelybir i *efgyrn llofgedig, drylliedig, gwânedig, yfgwydedig, pwdr:* ei wafgfäon fydd ofidus iawn, parhâus, ac anhawdd eu hiachâu. Galarn. 1, 13. Salm 51, 8. a 42, 10. Jer. 23, 9. Hab. 3, 16. Bod yn *afgwrn ac yn gnawd i un*, yw bod o'r un natur, ac mewn perthynas agofaf, a charediccaf âg ef neu hi. 2 Sam. 5, 1. Gen. 2, 23. Eph. 5, 30. Anwireddau 'r annuwiolion o orweddant ar eu *hefgyrn* hwynt yn y bedd; maent gwedi eu halogi â hwynt, ac yn gorwedd tan yr euogrwydd, neu 'r gofp ofnadwy am danynt. Job 20, 11. Ezec. 32, 27.

ASIA, [*lleidiog figlenog*] un o bedranau mawrion, neu bedwar chwarter, y ddaear, yn fefyll rhwng 25, a 148 o raddau hydedd tu a'r dwyrain oddi wrth Lundain; a rhwng canol-barth y byd a 72 o raddau o ledander gogleddol. Mae hi wedi ei hamgylchu, agos o bob tu, â moroedd mawrion, ac yn 4800 o filltyroedd o hŷd o'r dwyrain i'r gorllewin, a 4300 o led o'r gogledd i'r dëau. Yr oedd yr hen Hebreaid yn hollol anadnabyddus â rhanniad prefennol y ddaëar: Nid ydym yn cyfarfod â'r gair *Afia* yn yr Hen Deftament; ond y mae 'n dygwydd yn fynych yn llyfrau 'r Maccabeaid, ac yn y Teftament Newydd. Y mae *Afia* yn cael ei chyfrif yn dwy neu dair o rannau. Edrychir arni gwedi ei neillduo, a'i derchafu gynt, mewn modd arbennig gan Dduw goruwch y lleill. Yma y crewyd y dyn cyntaf; yma 'r oedd y patriarchiaid yn byw, ac y

rhoddwyd y gyfraith i Moses; yma y safodd yr arch ar ol y diluw; y cafodd celfyddydau eu cychwyniad; ac y dechreuwyd sylfaenu dinasoedd, &c. Yn Asia hefyd yr ymddangosodd Crist; lle y gweithiodd efe iechydwriaeth dynion, y bu farw ac yr adgyfododd; ac oddi yma 'r ymdaenodd goleuni 'r efengyl tros wyneb y byd.

ASNAPPAR, [*annedwyddwch*] brenin Assyria, yr hwn a anfonodd y Samariaid i wlad y deg llwyth. Ezra 4, 10. Mae llawer yn meddwl mai Salmanaser oedd y tywysog hwn; ond eraill a dybiant mai Esar-hadon oedd efe.

ASNATH, [*perygl*] merch Potiphera; gwraig Joseph. Gen. 41, 43.

ASP, math o sarph fechan wenwynig, yr hon y mae ei brathiad yn farwolaeth fuan; ond yn gyffredinol yn farwolaeth esmwyth, megis mewn cwsg. Dywedir fod yr *Aspiaid* yn lladd trwy beri cwsg, syched, a cholli gwaed. Yn union ar ol y brathiad, mae 'r golwg yn pallu, a'r rhan a frathwyd yn chwyddo. Dywedir nad oes dim meddyginiaeth i'r brathiad gwenwynig hwn, ond torri ymaith yn ddïoed y rhan honno, o'r cnawd. Mae Pechod, fel brathiad *asp*, yn lladd trwy amryw foddion neu ffyrdd; cybydd-dod yn lladd trwy syched am y byd; dïogi yn lladd trwy gwsg o anystyriaeth: cenfigen hefyd sydd fel yn gwaedu 'r enaid i farwolaeth, &c. Dynion drygionus a gyffelybir i aspiaid, am eu cyfrwysdra; eu bod yn lladd eu hunain, ac eraill, â'r gwenwyn sydd ynddynt; ac yn barod bob amser i dywallt hwnnw allan yn eu geiriau a'u bucheddau; ac am eu gwrthodiad cyndyn i wrando llais Crist yn yr efengyl. Deut. 32, 33. Job 20, 14. Salm 58, 4. Rhuf. 3, 13.

ASSUR, [*dyn llwyddianus*] mab Sem, tad yr Assyriaid. Pobl a gwlad Assyria a feddylir weithiau wrth yr enw. Gen. 10, 11. Num. 24, 22. Hos. 14, 3,

ASSYRIA, teyrnas enwog (tros amryw oesoedd gynt) yn Asia. Tybir iddi hi gael ei galw felly oddi wrth Assur, Mab Sem. Armenia, sy 'n terfynu arni yn y gogledd; Media a Phersia yn y dwyrain; Arabia yn y dëau; ac Euphrates (yr hon sydd yn ei gwahanu hi oddi wrth Syria ac Asia Leiaf) yn y dwyrain gorllewin. Dynion beilchion iawn oedd yr Assyriaid. Gen. 10, 11, 12. Zec. 10, 11. Pobl gynfigennus wrth bawb. Neh. 3, 19. ac eilun-addolgar. Ezec. 16, 28.

ASDOTH PISGA, [*ffrydiau 'r bryn*] mynydd y'ngwlad Og brenin Basan. Deut. 3, 17.

ASTALCH, bwccled, neu fath o darian law, ysgafn, a elwir felly oddi wrth y defnydd a wneir o honi, sef ei throi yn ol ac yn

mlaen yn y llaw, i a ddiffyn rhag dyrnodiau 'r gelyn. Y mae 'r gair yn dyfod oddi wrth wreiddyn Hebraeg ſy 'n arwyddo, myned yn ol ac yn mlaen, i lawr ac i ſynu, gwibio, darymred Felly tybygid yr oedd yr *Aſtalch* yn offeryn go yſgafn i'w throi a'i throſi mewn llaw. Salm 91, 4. Can. 4. 4. Gwirionedd Duw ſydd fel aſtalch i amddiffyn pob rhan o'r credadyn, yn gyſtal ag yn gleddyf i ymladd â phob gelyn. *Edr.* BWCCLED.

ASTORETH, [*praidd, golud*] duwies y Sidoniaid. 1 Bren. 11, 5. Mae *Aſtoreth*, yn y Syriaeg, yn arwyddo defaid, yn enwedig mamogau, pan fo 'u tethau yn llawn llaeth. Oddi wrth ffrwythlonder y creaduriaid hyn (y rhai yn Syria oeddynt yn parhâu i eppilio tros hir amſer) y darfu i'r Sidoniaid lunio dychymmyg am dduwdod, pa un a alwaſant *Aſtoreth.* 1 Bren. 11, 5. (2.) Dinas yn Gilead tu hwnt i'r Iorddonen. Salomon a ddygodd y dduwies hon i Iſrael i'w haddoli. 1 Bren. 11, 5. ac a adeiladodd deml iddi ar fynydd yr Olewydd: a hwnnw, o achos yr eilun *Aſtoreth*, ac eilunod eraill, a elwir Mynydd y Llygredigaeth. 2 Bren. 23, 13.

ASTRONOMYDDION, dynion yn ſylwi ar y ſêr a threfn yr wybren, a thrwy hynny a gymmerent arnynt ragddywedyd y pethau a ddygwyddent yn ol llaw: Yr oeddynt mewn parch a chymmeriad mawr yn mhlith y Paganiaid, ac yn bennaf yn Babilon. Dan. 1. 20. a'r 2, 2, &c. Eſay 47, 13, 14, 15.

ASYN, creadur o ryw 'r march, hir-ben, a hir-gluſt, crwn-gorph, â gwiſg o fyr-flew geirwon. Maent yn gyffredin yn ein gwlad ni o liw llwyd-goch, â llinell ddu ar hŷd y cefn, ac ar draws yr yſgwyddau, &c. Mae 'r aſynnod y'ngwledydd y dwyrain yn brydferthach ac o faintioli mwy; ac arnynt hwy yr oedd y gwŷr mawrion yn marchogaeth, megis Abraham, Dafydd, &c. Yn amſer Deborah yr oedd y rhai ardderchoccaf yn Iſrael yn marchogaeth ar aſynod gwynion. Nid oedd gan gaethion Babilon yn eu dychweliad, nemmawr o anifeiliaid pynnoriawg heblaw 6720 o aſynod. Gen. 22, 3. Ecſod. 4, 20. Barn. 12, 14. 2 Sam. 16, 2. 2 Cron. 28, 17. Neh. 7, 69 Barn. 5, 10. Yr oedd aſynod gwylltion yn Nghanaan ac Arabia gynt; ac felly etto yn Affrica: Y maent yn rhai têg iawn, ac amryliw; yn byw mewn anialwch a mynyddoedd; maent hefyd yn gyflym iawn, eiddigeddus o'u rhyddid, trythyll, a thueddol i yfed; ac yn gyffredin i'w gweled yn yrroedd. Job 11, 12. a'r 39, 5,—8. Salm 14, 11. Jer. 14 6.

Yr oedd aſynod yn greaduriaid aflan dan y ddeddf, a'u cyntaf anedig a brynid âg oen, neu a dorfynyglid: Dynion drygionus ydynt debyg

iawn iddynt; y rhai sydd gyndyn, digywilydd, ansefydlog, na's gellir eu dofi, yn ymroddi i ymborthi ar ddychymmygion gweigion; y rhai y mae 'n rhaid eu gwaredu trwy farwolaeth Iesu Grist, Oen Duw, neu eu bod yn golledig yn dragywydd. Ecsod. 34, 20. Esay 1, 3. Job 11, 12. Jer. 2, 24. Hos. 8, 9. Yr oedd yr *asen* mewn anrhydedd mawr gynt, o herwydd i'r Arglwydd wneuthur defnydd o honi i wahardd ynfydrwydd Balaam. Num. 22. 2 Pedr 2, 16. Ond anrhydedd pennaf yr asen ydyw, fod Iachawdwr y byd wedi marchog yn orfoleddus arni i Jerusalem. Zec. 9, 9. Mat. 21. Ioan 12.

ASYNCRITUS, [*anghydmarol*] gwr duwiol a enwir gan Paul yn Rhuf. 16, 14.

ATAD, [*draen*] tebygol mai Canaanead hynod oedd efe, a chanddo lawr dyrnu yn Abel-Misraim. Gen. 50, 10.

ATARA, [*coron*] gwraig Jerameel, a mam Onan. 1 Cron. 2, 26.

ATAROTH, [*coronau*] dinas yn llwyth Gad, tu draw i'r Iorddonen. Num. 32, 34. (2.) Dinas ar derfyn meibion Ephraim, rhwng Janoha a Jerico. Jos. 16, 7. tybir mai 'r un yw hi ag Ataroth-Adar. adn. 5, ac yn y 18, 13.

ATER, (*llaw aswy*] ei hiliogaeth a ddychwelasant o'r caethiwed. Ezra 2, 16.

ATHAC. [*dy awr, neu amser*] dinas yn Juda. 1 Sam. 30, 30.

ATHAIA, [*awr neu amser yr Arglwydd*] mab Uzzia. Nehem. 11, 4.

ATHALIA, [*awr neu amser yr Arglwydd*] merch Omri brenin Samaria, a gwraig Jehoram brenin Juda. Drwg iawn oedd hi ei hun; ac felly yr hudodd ei gwr a'i mab i rodio llwybrau ei thadau. Gwedi i Jehu ladd ei mab Ahazïa, hithau a ddyfethodd y gweddill o'r had brenhinol, ac a deyrnasodd yn annuwiol chwe blynedd; nes y bu Jehoiada yn offeryn i'w lladd, a dyrchafu Joas i'r orsedd. 2 Bren. 11. 2 Cron. 23.

ATHEN, dinas enwog yn nhir Groeg, y'nghylch 25, o filltiroedd o du 'r dwyrain i Gorinth, yn sefyll ar wastadedd hyfryd iawn. Yr oedd trigolion Athen gynt yn glodfawr am ddysgeidiaeth, ffraethineb a moesau da. Fe fu Paul yn pregethu yn y ddinas hon, ac yn offeryn i argyhoeddi Dionysius, un o farnwŷr Areopagus, y'nghŷd âg amryw eraill. Act. 17, 16.

ATHRAW, un wedi derbyn dysgeidiaeth, ac awdurdod a medrusrwydd i'w thraddodi i eraill. Eph. 4, 11. *Edr.* ATHRAWIAETH.

ATHRAWIAETH, gweinidogaeth athraw, dysgeidiaeth âg awdurdod ynddi, yn gywir yn ol rheolau ei hegwyddorion, addysg, hyfforddK 2

iad cywir. Jer. 32, 33. Mae 'n debygol fod y gair athraw, ac athrawiaeth, yn treiglo oddi wrth y gair Hebraeg *Thora;* yr hwn yn fynych a gyfieithir cyfraith, Mae cyfraith yr Arglwydd yn berffaith-lawn o athrawiaeth a dyfgeidiaeth. Salm 19, 7. Mofes a ddywed yn Deut. 32, 2. Fy athrawiaeth a ddefnynna fel gwlaw, &c. hynny yw, y gyfraith, yr addyfg, yr ymadroddion neillduol a dderbyniais gan Dduw; canys felly y deallir y gair Hebraeg fydd am athrawiaeth yn y fan yma, yr hyn fydd yn *cymmeryd gafael awdurdodol;* neu yn ol *Aynfworth, Y ddyfgeidiaeth a dderbyniais i.* Yr Arglwydd yw 'r pen athraw, mae efe fel y cefnfôr mawr, ni ellir chwilio allan ei fynwyr ef, Efay 40, 28. Salm 147, 5. aneirif yw ei ddeall. Mae athrawon yr efengyl, y rhai y mae Duw yn ei gyfrif felly, fel cymmylau, yn derbyn eu llawnder o gyfiawnder Crift; o'r cefnfôr hwn y maent yn cael athrawiaeth i ddefnynnu fel gwlaw ar bechaduriaid. Mae Paul yn cyttuno â Mofes yn 1 Cor. 11, 23. "Canys myfi a dderbyniais gan yr Arglwydd yr hyn hefyd a draddodais i chwi." Crift, fel y mae yn gyfryngwr, a dderbyniodd roddion i ddynion: Yn yr wythfed o Iöan, adn. 28. y dywed efe fel hyn; "Megis y dyfgodd fy Nhad fi, yr wyf yn llefaru 'r pethau hyn." Mae 'n rhaid i athrawon dderbyn eu *hathrawiaeth* gan Dduw, fel y derbyn y cymmylau eu dwfr o'r môr, onid ê, "cymmylau di-ddwfr ydynt;" nid oes dim ynddynt wrth natur ond y tywyllwch; dim i ddyfrhâu eu dyfgyblion; ond cael eu gyrru maent gan wyntoedd uffernol, a thymmeftl felldigedig eu chwantau afreolus, i fefyll uwch ben eglwys Dduw, i'w thywyllu â gwag philofophi, ac i gyfgodi rhyngddi hi a goleu dyfglaer, a gwres cynnyrchiol Haul mawr y cyfiawnder. 2 Pedr 2, 17. Judas 12. (2.) Daliad mewn pwngc, mympwy. Mat. 16, 12. (3.) Gwirioneddau 'r efengyl yn gyffredinol. Tit. 2, 10. (4.) Addyfgiadau a chadarnhâd y'ngwirioneddau 'r efengyl. 2 Tim. 3, 16. (5.) Dull a defnydd y ddyfgeidiaeth. Mat. 7, 28. (6.) Y weithred o ddyfgu. Marc 4, 2. (7.) Ordinhadau dwyfol. Mat. 15, 9. (8.) *Athrawiaeth dynion* tybiau difail, rhyw ddyfgeidiaeth a fyddo 'n tueddu at ryddid cnawdol; deddf yr ordinhadau, yr hon y daeth Crift yn ddiwedd dyddymol iddi: gwedi hyn nid oedd dim ond dynion i'w dal i fynu ac i'w dyfgu. Efay 29, 13. Col. 2, 22. Tit. 1, 14. *Athrawiaeth Balaam,* Dat. 2. 14. (fel yr ymddengys oddi wrth Numeri yr 22, 23, 24. o bennodau) ydoedd cyngor Balaam i Balac, i geifio rhwydo Ifrael âg eilunaddoliaeth a phutteindra: Yr un yw *athrawiaeth y Nicolaiaid,* Dat. 2, 15. y'mhlith y rhai y cyfrifid godineb, a bwytta yr hyn a aberthid i eulynod, yn bethau diniweid.

ATHRIST, galarus, prudd, trist, aflawen. Marc 10, 22. Phil. 2, 26.

ATHRODWR, chwedleuwr, un yn cario ac yn dywedyd chwedlau 'n gyhoeddus, yr un yw a'r absennwr yn y 15 Salm. Mae 'r gair Gröeg *(katalalos)* yn y Beiblau cymreig, weithiau, yn cael ei gyfieithu *athrodwr*, Rhuf. 1, 30. weithiau hefyd *goganwr*. 1 Pedr 2, 1, 12. 2 Cor. 12 20. Un ydyw yn myned oddi amgylch, yn rhodio yn athrodwr; yn derbyn ac yn taenu enllib. Lef. 19, 16. Trwy wenieithio yn anffyddlon â'i wefusau, y mae 'n datguddio cyfrinach, ac yn ennyn cynnen. Gelyn Duw a dynion, a melldith pob cymdeithas, yw 'r cyfryw un: y mae ar ddelw Satan, yn llawn o'i Yspryd, ac yn brysur yn ei orchwyl. Dïar. 11, 13. a 20, 19. *Edr*. ABSENWR.

ATTEB, ebu, neu ddywedyd wrth, neu tu ag at ryw holiad, neu alwad. Dïar. 16, 4. (2.) Gwneuthur amddiffyniad o flaen brawdle. 2 Tim. 4, 16. (3.) Dywedyd mewn cydsyniad âg arall. Deut. 27, 15. (4.) Dechreu llefaru. Dan. 2, 26. (5.) Dwyn tystiolaeth. Gen. 30, 33. (6.) Ufuddhâu i alwad. Esay 65, 12. (7.) Caniattâu yr hyn a ofynir mewn gweddi. Salm 27, 7. (8.) Rhoddi cyfrif. Job 9, 3. a 40, 2. (9.) Talu 'r pwyth. Ezec. 14, 7. (10.) Cynnhebygu, cyfattebοli, dwyn tebygoliaeth. Dïar. 27, 19. Gal. 4, 23.

ATTOLYGU, taer-erfyn, difrifol-ddymuno, Ecs. 33, 18. 2 Cor. 12, 8.

ATTREG, oediad, arofiad amser, gohirad; felly dïattreg yw peth a ddelo 'n ddïoed, yn ddisymmwth, heb ohirio. Esay 30, 13.

AUGUSTUS, [*mawreddus, teilwng o barch*] emprwr Rhufain, yr hwn a ddaeth ar ol Julius Cæsar, neu Caisar. Luc 2, 1.

ATTWF, yr hyn a dŷf oddi ar wreiddyn y tyfodd peth arno o'r blaen, eildŵf, eilgnwd. Esay 37, 30.

AUR, mettel o liw melyngoch, y trymaf, puraf, dysgleiriaf o'r holl fetteloedd; ac ar y cyfrif yma, yr addwyn gwerthfawroccaf. Mwyn aur a geir mewn cloddfeydd coppr ac arian yn fwyaf cyffredin; mewn rhai mannau yn glampiau, at bwys o ddwysder; ond yn Peru, yn glampiau cymmaint a 25 o bwysau. Nid yw o natur rhydu, ac ni leihâ wrth ei doddi mewn tân cyffredin. Y mae aur yn fynych yn yr ysgrythyrau yn cael ei wneuthur yn arwydd-lun o bethau dwyfol, pur, gwerthfawr, a chysan, anllygradwy a gogoneddus. Fe allai fod aur y babell a'r deml, yn gosod allan ddwyfol ragoriaethau Crist, ac ordinhadau gwerthfawr ac anllygradwy ei eglwys. Can. 5, 11, 14. Dan. 10, 5. Dat. 3, 18. a 8, 3. a 14, 14 Gair yr Arglwydd a gyffelybir i aur, o herwydd ei burdeb di-gymmysg, a'i werthfawrogrwydd. Salm 19, 10.

AWDUR, gwneuthurwr, un yn cario ei orchwyl y' mlaen gyd âg awdurdod; meiſtr ar ei waith. 1 Cor. 14, 33. Heb. 5, 9.

AWEL, chwa o wynt; *awel ddyſgeidiaeth*, dyſgeidiaeth anſefydlog, yſgafn, ddireol. Eph. 4, 14. Yn Heb. 13, 9 gelwir hi "amryw a dieithr." Y mae gau athrawiaeth yn amryw yn ei changhenau; ond heb un gwir wreiddyn iddi: felly hefyd y rhai a'i coſleidiant.

AWDURDOD, gallu, rheolaeth, ac arglwyddiaeth. Diar. 29, 2. (2.) Effeithioldeb nerthol i ddeffroi 'r gydwybod ac i ynill y galon. Mat. 7, 29. (3.) Caniattâd, gallu, rhyddid. Mat. 21, 23. Act. 9, 14.

AWR, nid oes dim ſon yn y Beibl am oriau hyd amſer caethiwed Babilon. Yr hen Hebreaid oeddynt yn rhannu 'r dydd yn bedair rhan; Boreu, Anterth, Nawn, Echwydd; a'r nos a ddoſparthent yn dair doſparth, nos, hanner nos, a'r wyliadwriaeth fore. Dan yr ymerodraeth Rufeinaidd, hwy a newidiaſant eu dull o rannu 'r amſer, fel hyn, y nos a ddoſperthid yn bedair rhan, ac a elwid gwyliadwriaethau, pob gwyliadwriaeth yn cynnwys tair *awr*. Mat. 14, 25. Yn y Teſtament Newydd y rhennir y dydd yn 12 awr cyfartal, y drydedd awr oedd y'nghylch naw ar gloch gyd â ni, y chweched hanner dydd, y nawfed y'nghylch tri ar gloch y prydnawn, a'r unfedawr ar ddeg ychydig cyn machlud haul. Mat. 20, 1,—6. Iöan 11, 9. a'r 19, 14. (2.) Y mae *awr* hefyd yn arwyddo un rhyw amſer nodedig, pryd, neu odfa, yn enwedig ennyd bach: felly yr ydym yn darllen am *awr* brofedigaeth, o farn, o farwolaeth Criſt neu ei ail ddyfodiad, o allu 'r tywyllwch a'i oruchwylwŷr. Dat. 3, 3, 10. 14, 7. Iöan 8, 20. Luc 22, 53. (3.) Amſer arbenig Duw yn ol ei dragywyddol arfaeth, i wneuthur rhywbeth; yr hyn ni ddichon fod yn gynt, nac aros yn hwy; Iöan 17, 1, &c. (4.) Artaith a phoen yr Arglwydd Ieſu, a'i brofedigaeth yn ei ſwydd gyfryngol. Iöan 22, 27. (5.) Yn ddiſymmwth, yn ddïoed. Dat. 18, 10. Fe allai fod *awr* yn arwyddo 'r ddeuddegfed ran o flwyddyn, neu o ddyddiau. Dat. 9, 15. Yr *hanner awr* goſteg yn y nef, yn arwyddo y 15 mlynedd o rwydd heddwch yn yr eglwys Griſt'nogol, o F. yr A. 323 i 338. Dat. 8, 1. Mewn un awr ydyw ynghylch yr un amſer. Dat. 17, 12.

AWYDD, aingc, tuedd-fryd cryf, chwant; yr hyn ſydd weithiau 'n gyfreithlon, ac weithiau 'n anghyfreithlon. Tit. 2, 14. Rhuf. 1, 27.

AWYR, un o'r pedair elfen, yr elfen ſy 'n amgylchu 'r byd cyfrgrwn o ddaear a dwfr, yn yr hon yr ydym yn anadlu; wybren cartrefle 'r ſêr. &c. awel wynt. Awyr ydyw 'r ehangder lle mae 'r ehediaid yn ehedfan; a'r cymmylau 'n ymdreiglo. Job 12, 7. 2 Sam. 22, 12. *Curo 'r*

*awyr*, neu *lefaru wrth yr awyr*, ydyw llefaru a gweithredu yn ofer, dieffaith, diafael, a difudd. 1 Cor. 9, 26. a 14, 9.

AZARIA, [*cynnorthwy 'r Arglwydd*] arch-offeiriad yr Iuddewon. 1 Cron. 6, 9. (2.) AZARIA mab Johanan yr arch-offeiriad, 1 Cron. 6, 10. fe dybir mai 'r un yw efe â Zecaria mab Jehoiada, yn y flwyddyn O. y B. 3164. (3.) Arch-offeiriad yn amser y brenin Uzzïa. 2 Cron. 26, 18. (4.) Arch-offeiriad yn amser Hezecïa. 2 Cron. 31, 10. (5.) Tad Seraïa, arch-offeiriad diweddaf yr Iuddewon o flaen y caethiwed. 1 Cron. 6, 14. (6.) Mab Sadoc yr arch-offeiriad. 1 Bren. 4, 2. Nid ydym yn darllen iddo ddyfod i'r swydd yn lle ei dad. (7.) AZARIA, neu Uzzïa enw un o frenhinoedd Juda. 2 Bren. 15. (8.) Prophwyd, yn amser Asa. 2 Cron. 15, 1, &c. (9.) Hefyd enw un o gyfeillion Daniel. *Gwel* Abednego. (10.) Mab Nathan, yr hwn oedd ben ar swyddogion Salomon. 1 Bren. 4, 5. (11.) Prophwyd, mab Oded. 2 Cron. 15, 1. (12.) Mab Obed. 1 Cron. 2, 38. (13.) Enw dau o feibion Jehosaphat brenin Juda. 2 Cron. 21, 2. (14.) Mab Hosaïa, a gyhuddodd Jeremi y prophwyd o dwyllo 'r bobl. Jer. 43.

AZAZIA, [*cymmorth yr Arglwydd*] Lefiad gwresog am gyfraith Dduw. 2 Cron. 31, 13. (2.) Tad Hosëa. 1 Cron. 27, 20.

AZBUC, tad Nehemia. Pen. 3, 14.

AZECA, [*cadernid muriau*] dinas yn llwyth Juda. Jos. 15, 35.

AZEM, dinas o eiddo 'r Simeoniaid. Jos. 19, 3.

AZGAD, [*cadernid byddin*] un a ddychwelodd o Babilon gyd â 1272 o'i frodyr. Ezra 8, 12.

AZIZA, [*cadernid*] mab Tattu. Ezra 10, 27.

AZMON, [*asgwrn o asgwrn*] dinas a grybwyllir. Num. 34, 4, 5.

AZOR, [*cynnorthwywr*] mab Eliacim. Mat. 1, 13.

AZRIEL, [*cymmorth gan Dduw*] un o gedyrn Dafydd. 1 Cron. 5, 24.

AZRICAM, [*cyfodi i fynu*, neu *ymddial*] enw pedwar o ddynion gwahanol, a sonir am danynt yn yr ysgrythyr; un o honynt a laddwyd gan Zicri. 2 Cron. 28, 7.

AZUBA, [*a adawyd*] gwraig Asa, mam y brenin Jehosaphat. 1 Bren. 22, 42. (2.) Gwraig Caleb. 1 Cron. 2, 18.

AZUR, [*yr hwn sy 'n cynnorthwyo*] tad y gau brophwyd Hanania. Jer. 28, 1. (2.) Tad Jazania, tywysog y bobl. Ezec. 11, 1.

AZZA, [*cadarn*] dinas a sonir am dani. Deut. 2, 23.

AZZAN, [*eu cadernid*] tad Paltiel, tywysog llwyth Issacar. Num. 34, 26.

Baal --Baala.--Baalath.--Baalath-beer.--Baal-berith --Baal-gad --Baal-hamon.--Baal-hanan. Baal-hazor.—Baal-hermon —Baali.—Baalim.—Baalis —Baal-meon.—Baal-peor.

B.

BAAL, BEL, neu BELUS, eilun-dduw 'r Caldeaid, y Canaaneaid, &c. Y mae Baal yn arwyddoccâu *arglwydd, meiſtr*, neu *gŵr priod*, ac yn arwyddo eu duw pennaf. Dan yr enw hwn yr oeddynt yn addoli 'r haul, 2 Bren. 23, 4,—11. yr hwn y tybient ei fod yn arglwydd ac yn ben llywydd y byd. Y Caldeaid a'r Babiloniaid a addolent un o'u brenhinoedd cyntaf, naill ai Aſſur ai Nimrod, dan yr enw hwn.

BAALA, [*ei delw arglwyddes*] neu Ciriath-jearim. Joſ. 15, 9. 1 Cron. 13, 6. Dinas yn ſefyll yn agos i Gileath a Gibeon, yn llwyth Juda.

BAALATH, dinas yn Dan. Joſ. 19, 44. 1 Bren 9, 18. (2.) Dinas a adeiladwyd gan Salomon. 2 Cron. 8, 6.

BAALATH-BEER, [*ffynnon yr Arglwydd*] dinas yn neheudir llwyth Simeon. Joſ. 19, 8.

BAAL-BERITH, [*Arglwydd y cyfammod*] eilun-dduw 'r Sichemiaid, ac Iſrael hefyd ar ol marwolaeth Gideon. Barn. 8, 33.

BAAL-GAD, [*llywydd byddin* neu *ffyniant*] dinas wrth droed Mynydd Hermon. Joſ. 11, 17. a 12, 7.

BAAL-HAMON, [*llywodraethwr torf*, neu *feddiannydd llawer*] dyffryn ffrwythlon yn agos i Jeruſalem, lle 'r oedd gwinllan gan Salomon. Can. 8, 11.

BAAL-HANAN, [*Arglwydd toſturi*] mab Acbor, ſeithfed brenin Edom. Gen. 36, 38. (2.) Enw un o ſwyddogion Dafydd. 1 Cron. 27, 28.

BAAL-HAZOR, [*Arglwydd llŷs*] dinas yn agos i Ephraim lle yr oedd cneifwŷr Abſalom; lle y cadwodd efe 'r wledd gneifio, ac y lladdodd ei frawd Amnon. 2 Sam. 13, 23.

BAAL-HERMON, [*Arglwydd y llw*, neu *feddianydd diſtryw*] mynydd yn ngogledd-dir llwyth Iſſacar. Barn. 3, 3. 1 Cron. 5, 23.

BAALI, [*fy arglwydd*, neu *lywydd*] Hoſ. 2, 16.

BAALIM, y nifer lïoſog o Baal, yn arwyddoccâu *duwiau* neu *arglwyddi* 'n gyffredinol. Hoſ. 2, 17.

BAALIS, [*gorfoledd*, neu *lywydd balch*] brenin yr Ammoniaid. Jer. 40, 14.

BAAL-MEON, [*Arglwydd y tŷ*] dinas yn llwyth Reuben. Num. 32, 38.

BAAL-PEOR, BAAL-PHEGOR, neu BEEL-PHEGOR, [*Arglwydd*, neu *feiſtr yr agored*] eilun y Midianiaid a'r Moabiaid. Fe ddywedir ini yn Num, 25, 3. fod Iſrael gwedi ymgyfeillio â'r eilun hwn; ac yn 1 Bren. 11, 7. fod Salomon gwedi codi iddo deml ar fynydd yr Olewydd.

Baal-perazim.—Baal-salisa.—Baal-tamar.—Baal-zebub.—Baal-sephon.—Baana.—Baara.—Baasa.—Babel.

BAAL-PERAZIM, [*eilun, neu arglwydd y dosparth*] lle yn agos i Jerusalem; lle gyrrodd Dafydd y Philistiaid i ffoi. 2 Sam. 5, 20.

BAAL-SALISA, [*prif arglwydd, neu eilun*] 2 Bren. 4, 42. Lle yn ol Jerom ac Eusebius, 15 milldir o du 'r gogledd i Diospolis.

BAAL-TAMAR, [*llywydd y balmwydden*] y lle y bu meibion Israel yn ymladd â llwyth Benjamin. Barn. 20, 33.

BAAL-ZEBUB, neu BEEL-ZEBUB, [*duw 'r gwybed*] eilun yr Ecroniaid. Fe i gelwir ef yn yr ysgrythyr, *Pennaeth y Cythreuliaid.* Mat. 12, 24. Luc 11, 15.

BAAL-SEPHON, [*delw, neu feddiant y gogledd*] y dysgawdwŷr Iuddewig a ddywedant, mai achlysur enwad y lle yw, fod dewiniaid yr Aipht wedi gosod i fynu ddelw ar ben craig, i fod yn warcheid-dduw i'w gwlad: Y mae 'r enw SEPHON hefyd yn arwyddoccâu *dwys fyfyrio*, neu *graff-sylwi.* Eraill a dybiant mai enw tref ydyw; er nad ydyw hen ddosparthwŷr y ddaear yn son dim am ei sefyllfa. Ecsod. 14, 2.

BAANA, [*yn yr atteb, neu drallod*] (1.) Mab Ahilud, llywodraethwr Taanach, Megido, a Bethsean. 1 Bren. 4, 12. (2.) Un o swyddogion Isboseth mab Saul; efe a Recab yn ddichellgar a'u lladdasant ef, ac a ddygasant ei ben ef at Ddafydd. 2 Sam. 4. Am y weithred front hon, Dafydd a orchymmynodd dorri eu dwylaw a'u traed hwy ymaith, a'u crogi hwy uwch ben llyn Hebron.

BAARA, [*fflam*] un o wragedd Shaharaim. 1 Cron. 8, 8.

BAASA, [*yn y gwaith*] mab Ahïah, pen tywysog lluoedd Nadab brenin Israel; yr hwn yn ddichellgar a laddodd ei feistr, y brenin, y'nghŷd â'i berthynasau oll, fel y câi efe y deyrnas iddo ei hun; felly fe deyrnasodd 24 o flynyddoedd. 1 Bren. 15.

BABEL, [*cymmysgedd*] enw 'r tŵr enwog hwnnw, lle y cymmysgodd Duw iaith yr adeiladwŷr, fel na ddeallent mwyach mo'u gilydd. Gen. 11, 9. Nid cymmaint, mae 'n debyg, oedd eu bwriad i adeiladu 'r tŵr hwn rhag ail ddiluw, ag oedd gwneuthur iddynt eu hunain enw, a rhag eu gwasgaru dros wyneb y ddaear; onid ê, hwy a'i hadeiladasant ar ben rhyw fynydd uchel, ac nid mewn dyffryn gwastad. Ond amcan Duw, mae 'n eglur, yn y weithred ryfedd hon, oedd pobl i'r holl fyd a greasai efe i'r dyben hwnnw. Y modd trwy ba un y dygwyddodd y cymmysgedd hwn, ni's gellir mewn modd naturiol roddi cyfrif am dano: Yr oedd Duw â llaw yn y gwaith mewn ffordd wyrthiol. Fe ymddengys, wrth yr hanes a rydd Moses, fod holl ddynol ryw a'r a oedd yn y byd y pryd

hynny, â llaw yn y gwaith y'nghylch yr adeilad fawr. Adeiladu tŵr Babel, a chymmyfgiad yr ieithoedd, a bennodir gan amferyddion y'nghylch O. y B. 1775.

BABEL, neu BABILON, prif ddinas Caldea, yn Afia, un o'r dinafoedd ardderchoccaf a fu erioed mewn bod. Dull ei gofodiad oedd pedronglog gywir, yn fefyll ar waftadedd mawr; ei chylch-fefur oedd 60 milldir, 15 ar bob yftlys. Trwch ei muriau, neu eu tewder, oedd 87 troedfedd; eu huchder 350: Yr oedd ar y muriau 316 o dyrau, neu, yn ol barn eraill, 250, tri rhwng pob porth, a faith ar bob congl. Dyma 'r mefur a rydd Herodotus i ni; yr hwn a fuafai ei hunan yn Babilon. Yr oedd y tu allan i fur y ddinas wedi ei amgylchu â chlawdd dwfn, llawn o ddwfr, gwedi ei weithio oddi mewn, ar bob ochr, â phriddfeini. Yr oedd arni hi gant o byrth prês, fef 25 ar bob ochr. Ei heolydd oeddynt union ar draws o'r naill borth i'r llall; pob heol yn 15 milldir ei hyd, ac yn 150 o droedfeddau o led. Rhifedi 'r heolydd oeddynt 50 25 o honynt yn croefi 'r 25 eraill, yn gywir onglog. Wrth fod yr heolydd yn trawfi eu gilydd fel hyn, yr oedd y ddinas wedi ei dofparthu yn 676 o bedrorau, pob un o honynt yn bedair yftâd a hanner ar bob ochr, neu ddwy filldir a hanner o gylchedd. Nid yw awdwŷr yn cwbl-gyttuno pwy oedd ei fylfaenydd hi; pa un ai Belus ai Semiramis, &c. Yr oedd yma deml odidog, a elwid teml BEL neu Belus; a phwy bynnag a'i fylfaenodd, Nebucodonofor a'i gorphenodd, ac a'i gwnaeth yn un o ryfeddodau 'r byd. Y gwaith mwyaf enwog yn, ac o amgylch, y ddinas, oedd ei muriau, teml Belus, llŷs Nebucodonofor, y gerddi crogedig, glennydd yr afon, y llynn cywraint, a'r dyfrgloddiau. Yr oedd caingc o'r afon Euphratus, yr hon oedd yn rhedeg o'r gogledd tu a'r dëau, yn rhannu 'r ddinas yn ddwy ran, wrth fyned trwy ei chanol. Y rhan hynny ag oedd yn fefyll ar du 'r dwyrain i'r afon, oedd yr hen ddinas; a'r rhan arall o du 'r gorllewin a chwanegwyd gan Nebucodonofor, yr oedd y ddwy ran yn fefyll o fewn ym uriau a enwyd uchod. Ni pharhaodd gogoniant y ddinas hon ddim yn hir; o blegid Cyrus yn fuan gwedi hyn, a fymmudodd orfedd-faingc yr ymerodraeth i Sufan; a Babilon yn raddol a adfeiliodd.

BABILON, neu BABILONIA, oedd enw 'r wlad, lle 'r oedd y ddinas ardderchog Babel yn fefyll: weithiau fe 'i gelwid hi Caldea. Salm 137, 1. Hon yw 'r deyrnas hynaf yn y byd, a fylfaenwyd gan Nimrod, ŵyr Ham; yr hwn, fel y tybir, a adeiladodd Ninife, prif-ddinas Afyria. Fe dderbyniwyd crift'nogaeth yma 'n fore, gan yr Iuddewon ac eraill. Yma

yr ysgrifenodd Pedr un o'i Epistolau, os nid y ddau, at ei frodyr gwasgaredig mewn amryw ardaloedd: Fe fu yma synagogau enwog gan yr Iuddewon, ar ol distrywio eu prif-ddinas. 1 Pedr 5, 13. Salm 87, 4.

Y mae Rhufain yn cael ei galw Babilon, i nodi ei heilun-addoliaeth, ei choel-grefydd, ei haflendid a'i brynti, a'r erledigaethau creulon yn erbyn eglwys Dduw, sydd yn ei chalon Anghristaidd. Dat. 14, 8, 17, a'r 18.

BACA, [*morwydden,* neu *ddyffryn wylofain*] yr un a Bocim. Salm 84, 6. Barn. 2, 1. Gellir ei ystyried fel yn cyfeirio at ddyffryn *Rephaim:* Dyffryn oedd wedi ei amgylchu â morwydd, ac felly 'n lle cysgodol. Mr. *Brown* a ddywed mai dyffryn llawn o ffynnhonau dyfroedd ydoedd, ac felly 'n gysurus iawn i Israel pan fyddent yn teithio i Jerusalem ar eu gwyliau arbenig; ïe, ei fod yn ddyfradwy, ac yn gysgodfawr.

Ac medd efe y'mhellach, Fe ellir darllen y testyn, heb gyfeiliorni, fel hyn, "y rhai yn myned trwy ddyffryn Baca a'i gwnant *ef* yn ffynnon;" ac ni all dim fod yn deccach darluniad o'r cysur, yr adfywiad, a'r cynnhaliaeth y mae 'r "dyn yr hwn y mae ei gadernid yn yr Arglwydd," (gwel adn. 5.) yn ei gael yn Nuw Jacob. Eraill a ddywedant mai lle sych diffaith ydoedd, am mai mewn lleoedd sychion y tyfai 'r morwŷdd; ac mai heb un ffynnon yr oedd, ond a gloddid i ddal dwfr gwlaw; a bod y geiriau yn cyfeirio at y ffynnon honno y bu tywysogion Israel yn eichloddio, Num. 21, 16, 18. ac hefyd ei fod yn gysgod, neu 'n arwydd-lun, o ffordd y credadyn i'r Jerusalem nefol, trwy lawer o orthrymderau; yr hwn ni fedd ddim i'w gysuro ar ei daith trwy anialwch, a diffaethwch y byd anwir hwn, ond Crist Iesu 'r Arglwydd, yr hwn yw ffynnon bywyd.

BACH, offeryn cam, at amrywiol wasanaeth: Offeryn i ddal pysgod. Mat. 17, 27. (2.) Gallu attaliol Duw, ei drefn ragluniaethol ef yn rhwystro pechaduriaid yn eu hamcanion drygionus, a bradwriaethus. Esay 37, 29. Ezec. 38, 4.

BACH, [*o ran maintioli*] dyn bach, plentyn bychan o ran oed. 1 Sam. 22, 19. Luc 2, 21, 27. (2.) Credinwŷr ieuaingc. 1 Cor. 3, 1. (3.) Ychydig neu fyr amser. Esay 26, 20.

BACHGEN, mab ieuangc, herlod, llangc; eginyn gwr. 1 Sam. 1, 27. Gen. 42, 22.

BAD, cwch, llestr bychan i nofio ynddo, yr hwn yn fynych sydd yn rhwym wrth long, yn nofio gyd â hi, ac weithiau ar ei bwrdd hi; ac yn atteb amryw ddybenion. Act. 27, 16.

BAEDD, mochyn heb ei ddispaddu, aflan wrth y gyfraith: Y baedd

gwyllt, fydd greadur creulon, dïalgar ofnadwy. Y *baedd o'r coed* neu 'r baedd gwyllt, yr hwn oedd yn turio gwinllan Duw, oedd y Philiftiaid a'r Syriaid, neu 'n hytrach yr Affyriaid, y Caldeaid, a'r Rhufeiniaid, y rhai, trwy haerllugrwydd a chreulondeb a ddiftrywiafant yr Iuddewon. Salm 80, 13.

BAHURIM, [*dewifol, rhyfelgar, gwrol*] dinas yn agos i Jerufalem, y daeth Simei allan o honi i regu Dafydd, yn ei ffŏad rhag Abfalom ei fab. 2 Sam. 16, 5. Ac yma y bu Ahimaas a Jonathan yn ymguddio mewn pydew. 2 Sam. 17, 18.

BAI, trofedd, camwedd, torriad rheol uniawn; gwŷd. 1 Sam. 29, 23. Dan. 6, 4. Luc 23, 4, 14. Iöan 19, 4, 6.

BAICH, cymmaint ag a all dyn yn hawdd ei garrio. Jer. 17, 22. (2.) Rhywbeth trwm a fyddo yn blino dynion o herwydd ei bwyfau, a'r gofid fydd yn ei ganlyn; megis llafur a gwafanaeth caled. Ecf. 2, 11. (3.) Gofalon, a gofidiau 'r meddwl, ofnau, &c. Salm 55, 22. (4.) Athrawiaeth a gorchymmynion Crift i'r rhai a arweinir gan yr Yfpryd Glân, fydd faich yfgafn; ond i ddynion anianol yn gaethiwed caled. Mat. 11, 30. (5.) Prophwydoliaethau am farnedigaethau trymion, blin clywed am danynt, a rhy orthrwm eu goddef. Efay 13, 1. a'r 15, 1. Neh. 1, 1. Mal. 1, 1, &c. (6.) Yr anmherffeithrwydd a welir yn ein dyledfwyddau. Gal. 6, 2. *Dygwch feichiau eich gilydd;* hynny yw, gan eich bod oll yn ddaroftyngedig i wendidau, cynnheliwch eich gilydd mewn cariad. Y mae pob pechod yn faich. Salm 38, 4. Y mae pwyfau pechod yn ein gwafgu ni i lawr, Heb. 12, 1. ac y mae 'n *faich* trwm i eraill, fydd yn ei adnabod ac yn ei gafâu. (7.) Pob peth bychan yn *faich* o eifiau gallu i'w ddwyn. Preg. 12, 5. (8.) Llygredd natur bechadurus; yr hyn y mae pob dyn wedi ei fywhâu trwy ras, yn teimlo ei bwys. Salm 38, 4. Job 7, 20. (9.) Y feremoniau deddfol, a thraddodiadau dynol, y rhai fydd galed ac anhawdd eu cyflawni. Act. 15, 28. Mat. 23, 4. (10.) Swydd llywodraethwŷr gwlad neu eglwys; i iawn farnu pethau pwyfig. Ecf. 18, 22. Efay 9, 6 Y mae addoliad ffurfiol a rhagrithiol dynion yn *faich* ar Dduw. Efay 1, 14.

BALAAM, [*llyngcwr y bobl*] mab Peor, prophwyd neu ddewin o ddinas Pathor, ar yr afon Euphrates. Fe anfonwyd am dano ef gan Balac brenin Moab, i regu pobl Ifrael; ond yn lle eu rhegu fe 'u bendithiodd hwynt. Num. 22. Mae hynny 'n bwngc mewn dadl y'mhlith y dyfgedigion, pa un ai fod Balaam yn wir brophwyd i'r Arglwydd, ai dewin ac adroddwr

tesni yn unig oedd efe. Yr olaf a ymddengys debyccaf: etto y mae 'n eglur, wrth dystiolaeth y gair, ei fod ef yn cael cynnhyrfiadau a gweledigaeth oddi wrth Dduw.

BALADAN, [*mewn barn, mab angau*] un o frenhinoedd Babilon. Y mae ei enw ef yn gyfansoddiad o enwau 'r eilun-dduwiau, Baal ac Adan, neu Adonis. Fe 'i gelwir ef, gan ysgrifenwyr paganaidd, Belesis, Belesus, Nanybrus, neu Nabonasar. Esay 39, 1. 2 Bren. 20, 12.

BALAC, [*difäwr dystrywiwr*] mab Sippor, brenin Moab, yr hwn a anfonodd genhadau at Balaam y dewin, i ddymuno arno ddyfod i regu pobl Israel. Num. 22. *Edr.* BALAAM.

BALCHDER, (1.) uchder meddwl gwedi ei lenwi â hunan-dŷb, yr hwn sy 'n chwyddo dyn i ddirmygu Duw, ac i ddïystyrru dynion; yr hyn sydd yn wrthwyneb i ostyngeiddrwydd, symlrwydd, a chariad at Dduw a dynion. Sam. 17, 28. (2.) Y pethau y mae dyn yn falch o honynt, megis, nerth, golud, ordinhâdau eglwysig, a pherthynas â Duw, &c. Esay 23, 9. Jer. 13, 9. Seph. 3, 11. (3.) Dynion y rhai sydd feilchion ac uchel iawn, fel pe baent lawer rhagorach nâ 'u cymmydogion. Salm 36, 11. (4.) Golygon trem-uchel, geiriau coegion, gweithredoedd drygionus, &c. trwy ba rai y datguddir balchder calon. Hos. 5, 5. *Difwyno balchder yr Iorddonen,* ydoedd torri 'r coedydd ar ei glennydd hi, a'u cymmeryd at wasanaeth y gwersylloedd, y rhai oeddynt yn ymosod yn erbyn amryw ddinasoedd yn agos atti hi, i'w dyfetha, a distrywio cyfoeth a gogoniant Judea. Hynny a wnaethpwyd gan y Rhufeiniaid. Zec. 11, 3.

BALLEG-RWYD, rhwyd bysgotta, rhwyd dynnu; math o rwyd â gwaelod fel sach iddi. Y mae 'r gair Hebraeg yn arwyddoccâu peth wedi ei grebachu, neu ei gyfyngu ynghŷd; ac felly yn sicr o ddwyn ei helfa yn llwyddiannus i law. Hab. 1, 15, 16.

BALM, math o sudd, neu lud gwerthfawr, a ddyfera allan o'r balmwydden: Yr oedd helaethrwydd o hono yn mynydd Gilead; ac yr oedd y lle yn enwog iawn o'i herwydd. Y mae ei enw yn Hebraeg yn tarddu oddi wrth yr un gwreiddyn â'r gair *craig; rhwymo y'nghŷd; cryfhâu;* ac y mae Mr. Bates yn meddwl, fod ei enw wedi ei gymmeryd oddi wrth ei natur gryfhäol, ei effeithioldeb, a'i anffaeledigrwydd i gadarnhâu, i iachâu, ac i rwymo y'nghŷd friwiau, archollion, a brathiadau gwenwynig. Yr Arabiaid a werthent beth o hono i'r Aiphtiaid. Gen. 37, 25. Ei liw ar y cyntaf sydd led wyn, a chwedi hynny yn wyrdd; ond pan elo 'n hen, fe drŷ 'n lled felyn, yn debyg i fêl. Ei flas sydd chwerw; eithr

ei arogl yn bêr; ac fe 'i harferir i bêr-arogli cyrph meirwon. Yr un gair Hebraeg (*Tſari*) a gyfieithir triagl yn Gymraeg, yn Jer. 8, 22. a'r 51, 8. ac yn Ezec. 27, 17. Nyni a adawn i'r darllenydd dynnu 'r gymhariaeth rhwng y Balm hwn a'r balm yſprydol, gwaed Criſt; yr hwn y mae ei effeithioldeb a'i rinwedd yn anfeidrol, ac yn anffaeledig.

BAMA, [*uchelfa*] lle y cynnhelid delw-addoliaeth. Ezec. 20, 29.

BAMOTH, [*uchelderau*] yr 42 werſyllfa y bu plant Iſrael ynddi yn yr anialwch, Num. 21, 9, 20. yr un (medd Mr. Brown) a BAMOTH-BAAL, ar lan afon Arnon. Joſ. 13, 17.

BANER, lluman, neu fan llu; arwydd i ddangos gwerſyllfa milwŷr, i'w caſglu, eu cyfarwyddo, a'u calonogi yn amſer rhyfel. Num. 1, 52. Salm 20, 5. Yr un gair Hebraeg (*Dagol*) a gyfieithir, trwy 'r Hen Deſtament, weithiau lluman, weithiau baner; ac ſydd yn arwyddo 'r un peth. (2.) Yn ffigurol, cariad Criſt yn cael ei ddal allan yn yr efengyl, i olwg ei ganlynwŷr. Can. 2, 4.

BARA, ymborth naturiol, bwyttäadwy, &c. Y mae 'n cael ei gymmeryd weithiau am bob cynnhaliaeth dyn. Gen. 3, 19 a'r 49, 20. (2.) Yr holl bethau angenrheidiol yn y bywyd hwn. Mat. 44, a'r 6, 11. (3.) Manna, â'r hwn y porthodd Duw yr Iſraeliaid yn yr anialwch. Ecſod. 16, 4. (4.) Yn ffigurol, Criſt y gwir fara a ddaeth i wared o'r nef, yr hwn ſy 'n rhoi bywyd i'r byd. Iöan 41, 51. *Bara dagrau,* Salm 80, 5. a *bara gofidiau,* Salm 127, 2. ydyw cyſtudd, a thrallod, a thywallt dagrau parhâus; yr hyn ſydd yn gwneuthur bywyd ei hun yn anghyſurus. *Bara twyll, a bara falſedd,* Dïar. 4, 17. a'r 20, 17. pob math o elw neu ennill a gaffer trwy un rhyw dwyll. "Bwrw dy *fara* ar wyneb y dyfroedd; canys ti a'i cei ar ol llawer o ddyddiau," medd Salomon, Preg. 1 , 1. *h. y.* yn llythyrenol, "Hau dy ŷd mewn ffaeth-dir dyfradwy; ti a geſgli gynhauaf helaeth:" neu, 'n ſoeſol, dyro dy roddion, a'th eluſenau 'n helaeth, a thi a dderbyni obrwy addas i'th haelioni.—Criſt a elwir yn *fara* Duw. Iöan 6, 33.

BARA GOSOD, neu FARA DANGOS, yn llythyrenol, *Bara 'r wynebau.*—Yr enw a roddid ar y bara cyſſegredig, ſef, y deuddeg teiſen (yn ol rhifedi deuddeg llwyth Iſrael) a oſodai 'r offeiriad ar y bwrdd o flaen wyneb (Hebr. *wynebau)* Jehofa 'n waſtadol. Ecſod. 25, 30. Lef. 24, 5,—9. Fe fyddai dau offeiriad yn myned i mewn i'r cyſſegr, wrth ddodi bara brwd ar yr allor: un i gymmeryd yr hen fara i fynu oddi ar y bwrdd, a'r llall, yn ddïattreg, i oſod y rhai brwd yn eu lle: Yr offeiriaid yn unig a bïoedd yr hen fara, i'w fwytta. Yr oedd y bara hyn, i'w newid bob

sabbath. Mae saint Duw ger ei fron yn wastadol, ac yn frwd pan fyddo eu ffydd yn gweithio trwy gariad —Dylai pob gweinidog Duw, pob credadyn, fynych ymborthi ar fara Duw, sef Crist. Iöan 6, 33.

BARABBAS, [*mab gwaradwydd*] lleidr a lleiddiad; yr hwn oedd yn garcharor pan oedd Iesu i gael ei groeshoelio; ac a ddewiswyd gan yr Iuddewon, yn lle Crist, pan ofynnodd Pilat iddynt pa un o'r ddau a fynent hwy ei ollwng yn rhydd. Iöan 18, 40.

BARAC, [*taran*, neu *'n ofer*] mab Abinoam, yr hwn a ddewisodd Duw, i'w wneuthur yn offerynol i ryddhâu ei bobl, yr Hebreaid, oddi wrth gaethiwed Jabin brenin Canaan. Barn. 4. *Edr.* DEBORA.

BARACEL, [*bendithiwr Duw*, neu *yr hwn sy 'n plygu 'r glin o flaen Duw*] tad Elihu. Job 32, 6.

BARBARIAD, enw a roddid gan y Groegiaid gynt ar bob alldud na fedrai siarad eu hiaith hwynt yn hyawdl: ac yn enwedig os byddai ei fuchedd yn anfoesol. Rhuf. 1, 14. Col. 3, 4. Dyn afreolus annysgedig; neu yr hwn na's byddwn yn ddeall ei iaith. 1 Cor. 14, 11.

BARCUT, aderyn aflan dan y ddeddf, ysglyfaethus, trwm ei gorph, craff ei olwg. Y mae 'n ddigon adnabyddus yn Mrydain. Lef. 11, 14. Deut. 14, 3.

BARF, y blew sy 'n tyfu a'r wynebau dynion, o amgylch eu geneuau. Yr arferiad o wisgo 'r farf oedd yn bur wahanol mewn amryw wledydd ac oesoedd. Eillio 'r pen a'r farf, neu hanner y gwallt, a hanner y farf, a gyfrifid yn sarhâd âc yn ddirmyg mawr yn mhlith yr Iuddewon. Felly y gwnaeth Hanun â chenhadau Dafydd. Sam. 10, 4, 5. 1 Cron. 19, 5.

BAR-JESU, [*mab Iesu*, neu *Josua*] swynwr Iuddewig, hynod, yn Cyprus, yr hwn oedd yn gwrthwynebu Paul a Barnabas; a geisiodd rwystro Sergius Paulus i dderbyn athrawiaeth yr efengyl, eithr a darawyd a dallineb trwy law Paul. Act. 13, 8. Y rhaglaw, yr hwn oedd yn dyst o'r gwyrth yma, a ennillwyd i'r ffydd. Y mae Luc yn ei alw ef Elymas; yr hyn, yn Arabeg, sy 'n arwyddoccâu *swynwr*.

BAR-JONA, [*mab Jona*] gair Syriaeg. Enw a roddes ein Harglwydd ar Pedr. Mat. 16, 17. Y mae 'r gair hwn, yn y rhan fwyaf o Feiblau cymraeg, wedi ei gyfieithu, *mab Jona*.

BARNABAS, [*mab prophwydoliaeth*, neu *ddyddanwch*] dysgybl Crist, a chyfaill Paul. Cafodd ei eni yn Cyprus; ond yr oedd ei achau o lwyth Lefi. Ei enw prïodol ef oedd Joses, neu Joseph; ond wedi ei ddychweliad at Grist'nogaeth, fe chwanegwyd yr enw Barnabas atto ef, yn arwyddo naill ai *mab prophwydoliaeth*, ai *mab dyddanwch*; y cyntaf o

ran ei ragorol ddawn prophwydoliaeth; y llall o herwydd ei elufengarwch, yn gwerthu ei dir i gynnorthwyo Crist'nogion tlodion, Act. 4, 36. Y mae rhai yn meddwl iddo gael ei ddygiad i fynu yn Jerufalem, dan y dyfgawdr mawr Gamaliel. Amfer ei ddychweliad nid yw hyfpys; ond yn gyffredinol y mae efe yn cael ei gyfrif yn un o'r deg dyfgybl a thrugain a ddewifodd ein Hiachawdwr. Efe a ddug Paul at yr Apostolion yn Jerufalem, pan oeddynt yn ofni ei dderbyn; ac a ficrhäodd iddynt wirionedd ei argyhoeddiad. Act. 9, 26, 27. Ar ol ei ymadawiad oddi wrth Paul, Pen. 15, 39. dywedir iddo fyned i'r Eidal, a phlannu eglwys yn Milan; dywedir hefyd iddo oddef merthyrdod yn Salamis; a chael o ryw rai hyd i weddillion ei gorph ef B. yr A. 488. Mr. A. Macbean.

BARN, (1.) Dedryd barnwr, brawdwriaeth, ynadiaeth. 1 Bren. 3, 28. (2.) Doethineb, pwyll, a fynwyr, yn galluogi dyn i ddofparthu rhwng iawnder a chamwedd. Salm 72, 1. (3.) Y cofpedigaethau, y rhai y mae Duw yn eu rhoi ar ddynion am eu pechodau, a'u hanwireddau. Diar. 19, 28. Ezec. 30, 14. (4.) Llywodraeth yfprydol ar y byd; yr hyn a roddwyd, gan Dduw 'r Tad, i Grist y cyfryngwr. Iöan 5, 22. a'r 9, 39. (5.) Ceryddon a thrallodd, y rhai y mae Duw yn eu dwyn ar ei bobl, er eu profi a'u haddyfgu. 1 Pedr 4, 17. (6.) Cymmedroldeb Duw yn ceryddu ei blant. Jer. 10, 24. (7.) Gwaith y dydd olaf, yn yr hwn y gwir brofir pob dyn, a phob gweithred. Preg. 12, 14. Judas 6. (8.) Deddfau a gorchymynion cyfiawn Duw. Salm 119, 7, 20. (9.) Y gofpedigaeth a roddwyd ar Grist am ein pechodau ni. Efay 53, 8. Act. 8, 33. (10.) Athrawiaeth yr efengyl, neu air Duw. Mat. 12, 18. Salm 119, 7, 20. (11.) Cyfiawnder ac uniondeb. Efay 1, 17. Luc 11, 42. (12.) Gwaredigaeth dynion oddi wrth lywodraeth ormefol y diafol. Iöan 12, 31. (13.) Arfaeth a chyngor Duw, a'i drefn, mewn perthynas i genhedlaethau, neu berfonau. Rhuf. 11, 33. (14.) Llyfoedd barn. Mat. 5, 21. (15.) Yr efengyl, neu deyrnas gras. Mat. 12, 20. (16.) Egwyddorion, fefydliad meddwl. 1 Cor. 1, 10. (17.) Cyngor, addyfg. 1 Cor. 7, 25.

BARNU, profi a phenderfynu achos. Ecfod. 18, 13. Y dull y rhoddid dedfryd oedd wahanol yn y naill wlad oddi wrth y llall. Y barnwyr Iuddewig a roddent eu dedfryd trwy ddywedyd wrth y cyhuddedig, *Yr ydwyt yn euog*, neu, *Yr ydwyt yn ddieuog*. Y Rhufeiniaid a wnaent, trwy fwrw amryw lechau i mewn i gift, gwedi eu harnodi ag A, os byddai 'r cyhuddol yn cael ei ollwng yn rhydd; ond a C, os condemnid ef i oddef cofp. Rhai o'r Groegiaid a roddent arwydd o ollyngdod, trwy roddi carreg wen i'r cyhuddol: ond os carreg ddu, hi a fyddai yn arwydd o

